


# Canada

i'r

# Cymry.



**Rheilffordd y Canadian Pacific.**



WESTERN MAIL, CYF. CAERDYDD.




## Rheilffordd Wasanaeth y Canadian Pacific.

Mae y linell hon wedi ei hadeiladu yn berffaith ac wedi ei haddurno yn ardderchog, fel ag y mae hi wedi enill cymeriad am ei chysurdeb a'i hamser rheolaidd, nad oes ond ychydig linellau yn yr America wedi ei gyrhaedd.

**ADDURNIAD.**—Mae y linell wedi ei haddurno a'r cerbydau teithwyr goreu yn y byd. Mae yr olwynion ac sydd yn cael eu harfer o dan y cerbydau hyn wedi eu gwneud o Krupp steel, ac nid oes un erioed wedi ffaelu; mae yr echeli wedi eu gwneud o ddur, ac o'r un maintioli a'r echeli haiarn sydd yn cael eu harfer ar linellau eraill. Mae cyrph y cerbydau wedi eu cydgysylltu yn gryf fel ag i gyfarfod ag unrhyw ddamweiniau, ac yn lletach ac yn uwch na'r rhai ar unrhyw reilffordd arall.

**BWYD A CHYSGU AR Y DAITH.**—Mae bwyd a phob dim angenrheidiol yn cael ei ddarpar ar fwrdd y llongau yn croesi yr Atlantic, ond tal teithwyr tua swllt yr un am bob pryd, wrth y bwrdd pryd, yn ystod y tri diwrnod y bydd yn teithio ar y rheilffordd rhwng y porthladd y bydd yn glanio a Winnipeg, ond gwerthir teisenau, etc., ar yr oll o'r Canadian Pacific trains. Mae rhai yn myned a basged o fwyd i'w canlyn, ac yn prynu yn unig gwpanaid o de neu goffi yn y stations ar y daith. Mae Cerbydau y Trefedigaethwr ("Colonist" Cars) wedi eu cymhwyso at gysgu yn y nos, yn rhydd o unrhyw gost. Nid yw y cerbydau yn arferol wedi eu upholsdrio, a gwell ydyw myned a cobenydd a cwrlid (rug). Y peth sydd i'w feddwl wrth "Outfit," cynwysa matras, curtains, a gobenydd, etc., gellir eu prynu am tua 10s. gan oruchwyliwr y Canadian Pacific, yn y porthladd lle y glenir cyn cychwyn ar y daith ar y rheilffordd.

# CANADA.

Y MAE Canada yn wlad enfawr, rhywbeth yn debyg o ran maintioli i Gyfandir Ewrob. Cynwysa 3,745,574 o filldiroedd ysgwar, a chyrhaedda o lan Mor y Werydd i lan y Mor Tawelog, ac o'r terfyn rhyngwladwriaethol yn y de i'r gogledd pell. Ei brif ddiwydiant ydyw amaethyddiaeth, sylfaenedig ar gyfundrefn o berchenogaeth gan y sawl a drinia'r tir. Rhydd amaethyddiaeth fwy o waith i bobl na'r holl ddiwydiannau eraill yn Canada gyda'u gilydd, ac y mae gwerth y cynyrch amaethyddol yn fwy na'r holl gynyrchion eraill wedi eu crynhoi. Y mae'r cylch amaethyddol oddiwrth ba un y mae Canada fel hyn yn medi ei chynhauaf mwyaf yn croesi y wlad mewn llwybr 3,500 o filldiroedd o hyd ac amryw gannoedd o filldiroedd o led, a rhanna ei hunan yn ddarnau cyfleus i amcanion amaethyddol.

## 1. TALAETHAU ARFOROL.

Cynwysa Canada Arforol Prince Edward Island, Nova Scotia, a New Brunswick. Mae gan Prince Edward Island boblogaeth o 103,259, ac arwynebedd o 2,184 o filldiroedd ysgwar. O hyn, y mae 503,579 o aceri dan gynyrch amaethyddol, 6,077 o aceri o dan berllanoedd a gerddi, a 284,741 o aceri yn borfeydd. Prif gynyrchion yr Ynys ydynt—gwair, ceirch, gwenith, a pytatws. Y mae cynyrch y llaeth-dy yn awr yn dod i'r ffrynt, a chymerant ran fawr yn nghyfrifon amaethyddol y dyfodol. Y mae Nova Scotia yn llai ei phoblogaeth, ond yn llawer mwy ei maint. Y mae yno boblogaeth o 459,574, a'i harwynebedd yn 31,428 o filldiroedd ysgwar, un ran o dair o ba un sydd yn fforestydd neu goedwigoedd. Y mae 883,472 o aceri o dan gnydau amaethyddol cyffredin, 54,051 o aceri yn berllanoedd a gerddi, a 1,135,246 o aceri yn borfa. Y prif gnydau ydynt—gwair, ceirch, gwenith, maip (erfin), pytatws, a ffrwythau. Y mae poblogaeth New Brunswick yn fwy teneu, ond y mae yn fwy o ran maintioli na'r un o'r ddwy dalaeth eraill. Y boblogaeth ydyw 331,120, a'r arwynebedd tirol 28,000 o filldiroedd ysgwar. O hyn y mae 1,087,626 o aceri yn gnydau amaethyddol, 16,290 o aceri yn berllanoedd a gerddi, a 689,681 o aceri yn borfa. Y mae gwair, ceirch, pytatws, ac yttag yn gorbwyso cnydau eraill. Y mae gwneud caws ac ymenyn a thyfu ffrwythau yn addawol. Fe gerir yn mlaen yn y Tair Talaeth fasnach heb fod yn

---

helaeth mewn ceffylau gwedd, gwartheg, defaid, a moch. Y mae mwngloddio yn Nova Scotia a melinau coed yn New Brunswick yn ddiwydianau pwysig ac yn talu yn dda.

## 2. QUEBEC AC ONTARIO.

Quebec ac Ontario ddaeth a Canada i sylw gyntaf. Y mae gan y flaenaf boblogaeth o 1,648,898, ac arwynebedd tirol o 341,756 o filldiroedd ysgwar, mwy na hanner yr hyn sydd yn fforest a choed-wlad. Y mae 5,250,405 o aceri wedi eu rhoddi i amrywiol gnydau amaethyddol, ac y mae yna 2,782,537 o aceri o dan wair. Y mae cadw ceffylau, gwartheg, moch, a dofednod (*poultry*) ar gynydd. Y mae gwneud caws ac ymenyn yn fasnach fawr, ac yn cadw dim llai na 2,806 o ffatrioedd mewn llawn gwaith. Y mae gan Ontario y fwyaf poblog a'r flaenaf mewn rhai cyfeiriadau o'r holl dalaethau ac edrych arni o safbwynt amaethyddol, boblogaeth o 2,182,947, ac arwynebedd tirol o 220,508 o filldiroedd ysgwar, dros 100,000 o'r hwn sydd yn goed-wlad. Y mae yr aceri at amaethyddiaeth yn cael eu rhannu fel y canlyn :—9,764,724 o aceri o dan gnydau amaethyddol, 326,290 o aceri yn berllanoedd a gerddi, a 5,248,180 o aceri yn borfa. Y prif gnydau amaethyddol ydynt—gwair, ceirch, gwenith, haidd, pys, pytatws, maip (erfin), ac Indian corn. Y mae ffrwythau yn dwyn llawer o elw, ac y mae masnach caws ac ymenyn, yr hwn sydd yn rhoddi gwaith i 1,284 o ffatrioedd, yn un o ganghenau mwyaf enillgar amaethyddiaeth yn y dalaeth. Y mae cynyrch y ffatrioedd a gweithydd (*manufactories*) yn enillgar yn mhob canghen.

## 3. TALAETHAU CANOLOG.

Y Talaethau Canolog ydynt Manitoba, Saskatchewan, ac Alberta. Cynwysant boblogaeth o 1,000,000, ac y mae cyfanswm eu harwynebedd tirol yn 577,921 o filldiroedd ysgwar. Cynwysa y rhan ddeheuol o'r talaethau yr oll o ardaloedd y peithdiroedd (*prairies*), yr hwn sydd yn cyrhaedd dros 200,000 o filldiroedd ysgwar, ac yn rhedeg yn agos i 900 milldir o'r dwyrain i'r gorllewin, ac o 100 i 400 o filldiroedd o'r gogledd i'r de. Nid oes angen dweyd mai prif gnwd y Talaethau Gogledd-orllewinol ydyw gwenith. Yn 1909, yr oedd 5,624,000 o aceri o dan wenith, a'r cynyrch yn 91,853,000 o bwyseli. Ond y mae y rhan sydd o dan geirch a haidd, yn enwedig yn y rhanau hynaf o'r talaethau, yn helaeth hefyd. Yn ol ffigyrau 1908 yr oedd 2,772,300 o aceri mewn ceirch yn cynyrchu 96,718,000 o bwyseli, a 873,300 o aceri mewn haidd yn cynyrchu 22,926,000 o bwyseli. Yn 1909, yr oedd y crop gwenith yn agos i 7,000,000 o aceri.

---

Mewn gwlad o'r maintioli hwn, fe fydd yn naturiol lawer gradd o hinsawdd, daear, a lle. Felly y mae hi dros yr oll o Canada. Gellir fod yna anhebygrwydd, eto y mae yr holl barthau yn cynyg cymhelliad yn ol awyddfryd yr hwn sydd yn ymsefydlu. Os y byddai yn well gan ymsefydlydd gael trigfa ar yr hwn ni raid iddo glirio coed, y mae ganddo ei ddewis o filoedd yn mhob rhandir. Rhoddir desgrifiad llawnach o'r Cartrefleoedd rhad (*free homesteads*), yr oll yn barod i'r aradr, yn y tudalenau sydd yn dilyn.

## 4. BRITISH COLUMBIA.

British Columbia ydyw y fwyaf o ran maintioli a'r fwyaf mynyddig o'r holl dalaethau. Ymestyna 760 o filldiroedd o'r gogledd i'r de, a 470 o filldiroedd o'r dwyrain i'r gorllewin. Y mae yn cynwys 236,922,177 o aceri o dir, o'r hyn y mae dros 10,000,000 yn dir aredig (*arable*). Fe amcangyfrifir fod llawn deg y cant o'r gweddill yn gymwys i fagu gwartheg ac i dyfu ffrwythau. Fe dyfir pob math o gnydau, ond asgwrn cefn amaethyddiaeth ydyw gwneud caws ac ymenyn, yn enwedig felly ar y gwastadeddau cyfoethog, a thyf ffrwythau yn mysg mynyddoedd y canoldir. Y mae glo a mwnau yn cael eu cloddio mewn llawer rhan, ac y mae melinau coed yn un o'r prif ddiwydiannau.

## RHEILFFYRDD.

Y mae dadblygiad Rheilffyrdd wedi bod yn fawr, ond y mae'r sefydlu wedi bod mor gyflym fel nad oedd yn bosibl darparu ffyrdd yn ddigon cyflym, ac mewn llawer adranau yr oedd sefydlu yn blaenori adeiladu rheilffordd. Y mae hyn yn wir yn awr am rai rhanau gogleddol i ba rai y telir sylw ; ond y mae y rhai hyn i fesur yn anhygyrch i ymsefydliad ar hyn o bryd ; er hyny, hyd yn oed yno cafwyd cynyrch rhagorol o yd ac fe'i cynhauafwyd yn llwyddianus, yr hyn ddyg dystiolaeth uchel i hinsawdd ddymunol y rhanau ymestynent i'r de.

## LLYWODRAETH.

Y drefn o Lywodraeth sefydlwyd yn Canada ydyw Undeb Cynghreiriol (*Federal Union*), a chanddi (*a*) Lywodraeth Ganolog yn rheoli materion hanfodol i ddadblygiad cyffredinol, parhad ac undeb yr oll o'r Drefedigaeth fel rhan annattodol o'r Ymherodraeth Brydeinig ; (*b*) Llywodraethau Talaethol a chanddynt reoliad ar faterion lleol megis trethi talaethol, ffyrdd, pontydd, &c. ; (*c*) Bwrdeisiaeth lleol o fewn y Talaethau, gyda gallu tebyg i'r Cynghorau Bwrdeisiol yn Nghymru.

## ADDYSG.

Y mae Addysg yn gyffredinol yn orfodol ac anenwadol. Y mae yr ysgolion elfennol yn rhad ac am ddim, a chost addysg

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—
"Gyda y C.P.R."**

uwchraddol yn isel-iawn ac o fewn cyrhaedd y distadlaf. Rhydd y dalaeth gyfran helaeth o'i chyllid at ddybenion addysgol. Mae'r drefn addysgol yn mhobman yn cynwys ysgolion elfennol ac ail-raddol—y rhai gysylltir a'r Prifysgolion lleol, a chyda Coleg Amaethyddol er dysgu yn helaethach y gelfyddyd o amaethu i feibion ffermwyr.

Nid oes Eglwys Wladol yn Canada, ac mae gan yr enwadau crefyddol ryddid llawn a llwyr i ymarfer eu daliadau. Fel canlyniad, y mae'r cydgordiad a'r teimladau goreu yn ffynu cydrhwng yr amrywiol eglwysi Protestanaidd a Phabyddol, ac y mae perthynas y weinidogaeth o'r fath gynhesaf.

## CANADA DDWYREINIOL.

### QUEBEC.

Y mae gan y dalaeth hon ar y Lower St. Lawrence arwynebedd tirol agos dair gwaith gymaint a'r Ynysoedd Prydeinig. Rhifa ei phoblogaeth ddwy filiwn, dwy ran o dair o ba un sydd o haniad Ffrengig ac un ran o dair o haniad Prydeinig. Fe adnabyddir uwchlaw miliwn o'i phobl fel dosbarth gwledig, ac y mae y rhan fwyaf o honynt yn berchenogion y ffermydd y maent yn byw ynddynt. Y mae rhyw saith miliwn o aceri o Diroedd y Goron wedi eu mesur ar gyfer sefydliadau newyddion, y rhai y gellir eu cael am brisiau yn codi o 10c. i 2/6 yr acer, yn ddarostyngedig i amodau ysgafn trigiad, clirio, a thriniaeth. Y mae'r tiroedd hyn, y rhai a orchuddir yn gyffredin â choedydd, yn benaf yn y rhan ogleddol o'r dalaeth, ond y maent o fewn cyrhaedd rheilffyrdd wedi eu hadeiladu yn barod neu yn cael eu hadeiladu. Gorwedda y rhan Brydeinig o Quebec yn y siroedd i'r de o'r St. Lawrence. Cynygia amryw gyfleusterau i'r dyn ag ychydig arian ac yn feddiannol ar brofiad o ffarmio, yn enwedig yn y ffordd o ffermydd wedi eu gwneud yn barod y rhai sydd i'w cael am brisiau isel, sef am o £200 i £500. Y mae'r marchnadoedd lleol yn fawr ac yn tyfu oherwydd amryw drefydd gweithfaol pwysig. Y mae swm mawr o'r cynyrch amaethyddol yn cael ei allforio yn flynyddol i Brydain Fawr a'r Cyfandir, yn cynwys caws, ymenyn, wyau, anifeiliaid, ac yd.

### NOVA SCOTIA.

Y mae y dalaeth hon, oblegid ei sefyllfa ddaearyddol a'i hamrywiol adnoddau naturiol, yn cynyg atdyniad arbenig i'r ymfudwr Prydeinig. Y mae dwy ran o dair o'i harwynebedd o haner can' miliwn o aceri yn gymhwys at amaethyddiaeth. Prin y mae un ran o dair yn cael ei ddal yn bresenol. Cynygia gwneud caws ac ymenyn a magu defaid gyfleusterau dibendraw yn y siroedd sydd

ar ffinia Mor y Werydd, tra y mae y siroedd gorllewinol yn enwog am eu perllanoedd afalau. Yn mhob rhan gall y ffermwr sydd ag ychydig o arian ddod o hyd i ddaliadau rhydd (*holdings*) wedi eu datblygu, rhydd-ddaliad pa rai sydd yn aml i'w cael am swm yn cynrychioli rhent dwy flynedd a delir ar gyfartaledd am ffermydd Cymreig o'r un maintioli. Y mae galwâdau'r marchnadoedd lleol ar gyfer cynyrch amaethyddol yn fwy na fedr y ffermwyr ei gyflenwi, yn enwedig mewn llaeth ac ymenyn a caws a chigoedd, ac y mae'r diwydiant mwnawl helaeth—glo, haiarn, aur—a'r buddiant gweithfaol yn trefnu llwybr i werthu unrhyw beth a ddyrchir. Fe allforir yn agos i filiwn o fareli o afalau yn flynyddol, a gall y farchnad Brydeinig yn hawdd gymeryd gofal o unrhyw gyflenwad pellach a ellir ei hebgor.

## NEW BRUNSWICK.

Y mae nodwedd y dalaeth nesaf hon yn debyg i Nova Scotia. Y mae yn fwy mewn maintioli, a chanddi ranau helaeth o dir rhydd (*free land*) yn gymhwys i ymsefydliad, yr oll o ba un sydd yn gyrhaeddadwy trwy gyfrwng rheilffordd. Yn ychwanegol, ceir hefyd yn rhad, dir ffrwythlawn wedi ei glirio, a ffermydd rhad, fel yn Nova Scotia, yn y rhan fwyaf o'r ardaloedd am brisiau isel iawn. Hwylusir gwerthiant unrhyw gynyrch a fyddo dros ben gan y porthladdoedd agored ar hyd y flwyddyn. Y mae gwneud caws ac ymenyn yn ddiwydiant llwyddianus. Y mae wedi ei drefnu yn dda. Y mae grawn brasaf New Brunswick, megis ceirch a haidd, yn cael eu cydnabod i fod o faintioli ac ansawdd gwych. Ymhlith gwreiddiau, y mae y pytatws yn enwog am helaethrwydd y cnydau, ac allforir llawer o'r cyfryw i'r Unol Dalaethau a'r West Indies.

## PRINCE EDWARD ISLAND.

Y leiaf o holl dalaethau Canada, ond a iawn enwir "THE GEM OF THE GULF." Y mae yr oll o'r tir yn eiddo i'r sefydlwyr—y rhan fwyaf yn ddisgynyddion Prydeinig. Y mae gwneud caws ac ymenyn a chodi stoc yn ddiwydianau llwyddianus. Gwna gwreiddiau yn dda, ac y mae tyfu pytatws yn darpar cnydau mawrion ar gyfer allforiad. Fel yn holl Dalaethau Arforawl eraill Canada y mae pysgodfeydd yn gyfrwng ffrwythlawn o olud. Y mae ffermydd yn rhad, hyfforddiant weithiad enillgar. Fe aeth y dalaeth hon a'r holl fathodau (*medals*) am y caws goreu yn Arddangosfa Fredericton.

## ONTARIO.

Ontario ydyw y dalaeth Seisnigaidd hynaf yn Llywodraeth Canada, yr uwchaf ei meithriniad, a'r gyfoethocaf. Y mae'r dalaeth yn 1,000 o filldiroedd o hyd a 750 o led, ac felly 78,000 o

---

fildiroedd ysgwar yn fwy na'r Deyrnas Gyfunol. O'i harwynebedd y mae 22,000,000 wedi eu sefydlu yn drwchus. Y mae Ontario yn cyrhaedd hyd at Hudson Bay yn y gogledd, ac ymestyna i'r de i'r un lledred a dehcubarth Ffrainc a gogledd-barth yr Eidal. Cynyrcha ddigonedd o'r gwinrawn, eiryn gwlanog, gellaig, afalau, a ffrwythau eraill, heb unrhyw nodded rhag y tywydd. Taith saith diwrnod o Lerpwl ydyw y dalaeth, a gorwedd ar lan yr Afon St. Lawrence a'r Great Lakes, y rhai a hyfforddiant drawsgludiad uniongyrchol i bob rhan o'r byd. Y mae'r boblogaeth tua tair miliwn, o'r hyn y mae 70 y cant wedi sefydlu ar y tir, ar rhyw 200.000 o ffermydd, ar gyfartaledd o 120 o aceri mewn maint.

## FFARMIO.

Ac eithrio fod y dull yn fwy celfyddydol, y mae ffarmio yr un peth ag yw yn Lloegr neu Gymru. Hyny ydyw, codi stoc a gwerthiant anifeiliaid o rywogaeth bur (*pure-bred*), cig eidion, cig moch, cig dafad, caws, ymenyn, &c., ydyw y canghenau pwysicaf o amaethyddiaeth. Fe dyfir rhan fwyaf o'r grawn a chnydau eraill fel porthiant. Yn ychwanegol at hyny, tyfu ffrwythau ydyw prif alwad y ffermwyr mewn rhai manau o'r Dalaeth. Y mae llawer iawn o waith y fferm yn cael ei wneud gan beiriaint, a thelir gwell cyflogau nag yn Lloegr.

## MAGU ANIFEILIAID.

Mewn anifeiliaid o rywogaeth bur, y mae Ontario wedi dyfod yn fagwrfa Cyfandir Gogledd America. Y mae yr holl stoc wedi tarddu o anifeiliaid ddygwyd drosodd o Brydain Fawr, ac yn gallu olrhain eu hachau yn mhell yn ol. Y mae'r hinsawdd bur a chryfhaol a'r borfa faethlon a bwydydd eraill Ontario wedi gwella y rhai hyn mor fawr nes y mae anifeiliaid fegir yn Ontario yn cael eu harfer yn yr Unol Dalaethau, Gorllewin Canada, ac hyd yn oed yn yr Argentine, i wella y deadelloedd a'r gyrrau yn y rhanau hyny. Yn y "Columbian World's Fair," yn 1893, enillodd ychydig o amaethwyr Ontario 932 o wobrau am stoc, tra nad enillwyd ond 1,494 yn yr Unol Dalaethau i gyd. Yn y St. Louis Exposition yn 1904, enillwyd haner yr oll o'r gwobrau am wartheg a cheffylau gan Stoc Ontario, a mwy na haner y rhai oedd wedi eu hentro yn nosbarthau defaid a moch.

Y mae cynyrch caws Ontario dros fwy na haner cyfanswm yr hyn drosglwyddir i Brydain Fawr. Gwneir caws, fel ymenyn, mewn ffatrioedd cyd-weithiol, gan rai hyddysg, ac o dan arolygiaeth y Llywodraeth. Y mae'r llaeth yn cael ei gasglu o'r ffermydd heb boeni'r ffarmwr. Fe gyfrifir gwerth y caws allforir yn £5,000,000 yn flynyddol, ac y mae yn cynyddu. Y mae cynyrchu

cig moch yn myned law yn llaw a gwneud caws ac ymenyn, ac y mae cynydd sicr allforiad peth o'r ansawdd goreu i'r Deyrnas Gyfunol yn ddigon o brawf o'r ffaith.

## CYNGHOR I YMSEFYDLYDD YN ONTARIO GYDA YCHYDIG NEU DDIM CYFALAF.

Gwna'r ffeithiau hyn hi'n glir fod pobpeth yn Ontario yn ffafrio y dyn sydd yn awyddus i wella ei sefyllfa mewn bywyd ac i sefydlu cartref a digonedd. Ond, fel y mae yn mhobman, y mae llwyddiant yn gofyn-parodrwydd i weithio, ac i ddysgu sut i weithio i'r fantais oreu. Bydd yr ymfudwr newydd yn gweld pob dim yn newydd a dieithr iddo. Bydd yn rhaid iddo fod yn barod i gychwyn o'r dechreu ac i ddysgu o'r newydd y dulliau a ganfyddir i fod y goreu gan y rhai hyny sydd wedi gweithio allan broblemau ffarmio yn Canada iddynt eu hunain Cymer hyn amser, ond y mae yn talu. Hyd yn oed os oes gan ddyn gyfalaf, y mae yn ddoeth os ydyw yn ei fwriad i weithio fel llafurwr ar fferm am flwyddyn neu ragor, er mwyn dysgu. Felly, y mae gan y dyn gydag ychydig neu ddim cyfalaf gystal cyfle a'r dyn âg arian ganddo. Drwy wasanaethu fel hyn, enilla brofiad, tra ar yr un pryd fe dderbynia, ac efallai rhoi heibio, dâl am ei lafur, a thrwy hyny ddarparu cyfalaf ar gyfer y dyfodol.

## CAFFAELIAD FFERM.

Pan y bydd profiad wedi ei ennill, gall y sefydlydd rentio fferm mewn rhan sefydledig o Ontario ar amodau hawdd a chydag ychydig o attaliadau, neu gall brynu un ar amodau cyn hawdded; trefnir y prisiau o £300 i £1,600, yn ol y tir, sefyllfa, lleoliad, adeiladau a gwelliantau, heb stoc na chelfi y rhai a gostient tua £200 yn rhagor.

## TIROEDD I GARTREFU (Homestead Lands).

Os na bydd wedi cynilo digon o arian gall gymeryd tir gan y Goron yn New Ontario am ychydig neu ddim cost. Fe geir fod y tir hwn yn llawn mor werthfawr i ffarmio, ac yn aml mor hwylus i'r marchnadoedd, a'r hwn yn y rhannau hynach o Ontario. Fe fydd y bywyd yn llai cysurus, am ychydig flynyddau i'r fan leiaf, ond y mae llai o gyfalaf yn angenrheidiol i gychwyn, ac y mae yna farchnad parod i'r coed ar y tir, fel y gall dyn fod yn abl i gynhal ei deulu a darparu arian i amcanion eraill, o'r adeg y cychwynodd ar y tir. Gellir cael manylion pellach, mewn perthynas i New Ontario a Thiroedd y Goron, trwy ymofyn a'r "Bureau of Colonisation," yn Toronto.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

## GAIR I'R DIBROFIAD.

Nid oes achos i'r dyn dibrofiad ofni dyfod i Ontario, os yw yn ewyllysio gwneud felly, ond iddo fod yn foddlon i weithio yn galed a chadw ei lygaid yn agored. Fel engraifft o achos o'r fath, daeth taniwr o waith glo yng Nghymru i Ontario gyda'i deulu rhyw ddeng mlynedd ar hugain yn ol, pan nad oedd cyflwr pethau agos mor ffafriol âg ydynt yn awr. Gweithiodd yn gyson ar ffermydd am ychydig flynyddau, ac wrth gynilo ei gyflogau daeth yn abl i brynu fferm fechan. Gan ei fod wedi dysgu ffarmio yn iawn yn yr amser hwnw, er yn hollol anwybodus ar y cychwyn, yr oedd yn abl mewn amser i ychwanegu at ei eiddo y tir oedd yn ei gylchynu. nes, pan y bu farw, ar ol bod deng mlynedd ar hugain yn y wlad, gadawodd i'w deulu 300 o aceri o dir a swm sylweddol o arian, stoc, ffarm, &c.

## Y GORLLEWIN EANG.

## MANITOBA.

Maes yr ymdrechion dechreuol ynglyn a'r ymfudiad i Ganolbarth Canada ydoedd Manitoba, a'r hyn a wnaed yn y Dalaeth hon a wneir drachefn yn awr yn y wlad tua'r gorllewin, lle y gwobrwyir amaethwyr y tir a llwyddiant cyfartal. Mae gan y Dalaeth 30 miliwn o aceri o dir llafur, ac hyd yn hyn oddeutu'r chweched ran sydd dan driniaeth.

**Cyfleustra i'r neb sy'n chwilio am Gartref.**—Nid yw pobl sydd a moddion ganddynt, a'r rhai sydd yn foddlawn ar eu sefyllfa, yn arferol o symud, ac o ganlyniad ni ddygodd yr ymsefydlwyr (*settlers*) yn Manitoba fawr o arian gyda hwynt. Y dyn fyddo wedi parhau i amaethu am o chwe' i ddeng mlynedd, mae mewn amgylchiadau nas gallodd llawer o ffermwyr mewn gwledydd eraill eu cyrhaedd wedi oes o lafur. Mae'r gwas ffarmwr yn ddedwydd a boddlawn, gan ddysgwyl cyfleustra i gael fferm yn eiddo iddo ei hun ac i dd'od mor annibynol a'i feistr. Gyda fferm yn rhydd o ddyled, meusydd o yd addfed parod i'r cynhauaf, minteiodd gwartheg ar ei borfeydd, diadellau defaid, llaeth, ymenyn, a dofednod (*poultry*) ddigon i gyflenwi ei deulu a nwyddau siop a llawer o gysuron eraill, ysgolion i'w blant, addoldai gerllaw, a manteision cymdeithasol yn hawdd o fewn cyrhaedd —pa beth yn ychwaneg sy'n eisieu er mwynhau bodolaeth iach? Mae cartrefleoedd i'w cael ar derfynau ymsefydliadau presenol i'r dwyrain o'r Red River a rhwng Llynoedd Winnipeg a Manitoba, ac yn yr ardaloedd a agorwyd yn ddiweddar ar hyd llinell Rheilffordd y Canadian Pacific. Mae yn y Dalaeth hon oddeutu 1½ miliwn o aceri o dir y gellir eu gwneud yn gartrefleoedd rhyddion.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**



DINAS ST. JOHN, NEW BRUNSWICK

**Elw i'w Gael.**—Mae darnau o dir dan wenith wedi dwyn elw clir o dros $12 yr acer. Addefir y gellir cyflogi dynion i aredig, hau, medi, a marchnatta am $7.50 yr acer. Hyd yn oed pe caniateid $8.00, blwyddyn dlawd fyddai hono na ddygai swm ardderchog dros ben hyn. Gellid dwyn yn mlaen engreifftiau lluosog o fewn y flwyddyn hon, o gnwd o wenith a werthir am $20 yr acer. Byddai felly elw o $12 yr acer. Teimla ffermwyr yn sicr y cyfyd eu tiroedd mewn gwerth o flwyddyn i flwyddyn, a dyna ffaith sy'n llefaru yn uchel am ragwelediad ac anturiaeth rhywrai, yn ogystal ag am eu diwydrwydd. Cyfrifir, oherwydd prisoedd uchel, y ceir mwy o arian oddiwrth gnwd 1909 nag mewn un flwyddyn flaenorol.

**Dulliau Amrywiol o Amaethu yn Talu.**—Mae codi yd wedi dwyn Manitoba i amlygrwydd amaethyddol yn ngolwg y byd, ond y mae y syniad o amrywiaeth mewn amaethu yn raddol a sicr lefeinio meddyliau ffermwyr. Nid oes odid i ffermwr heb fod ganddo fintai o wartheg neu ddiadell o ddefaid. Pesga ei foch ar gyfer y farchnad, a thry ei ddofednod yn werthfawr fel ffynhonell cyllid. Mae'r pethau hyn oll yn angenrheidiol er cyflenwi anghenion beunyddiol. Dichon iddynt fod yn ansafadwy eu pris, ond nid oes berygl y bydd gan y ffermwr ormodedd o un neu ychwaneg o honynt ar ei law nes andwyo ei amgylchiadau.

Cyfyd Dinasoedd a Threfi yn gyflym i amlygrwydd oherwydd y sefydlogrwydd a roddir iddynt gan yr ardaloedd amaethyddol cylchynol. Mae gan bob tref ei *Elevators*, ei melinau, a'i hystordai i gadw symiau mawrion o wenith y farchnad. Mae ugeiniau o drefi yn awr yn ymddadblygu, y rhai a fyddant yn agorfeydd masnachol i'r rhai a ddymunant hyny.

## SASKATCHEWAN.

Mae'r rhan fwyaf o'r 159,038,720 aceri sydd yn y Dalaeth hon yn gyfryw ag y gellir eu defnyddio yn yr amrywiol ganghennau a berthyn i amaethiad cymysgedig. Saif y rhan fwyaf o ddwy ran o dair o ddeheubarth y Dalaeth hon yn y diriogaeth eang sy'n codi gwenith. Gyda'r fath diriogaeth eang, o'r hon y mae cyfartaledd mor fawr eto yn dir gwyllt (*prairie*) ac yn aros am driniaeth yr ymsefydlydd, nid yw ond naturiol fod Saskatchewan yn un o'r talaethau lle mae ymsefydliad yn cynyddu yn gyflym. Yma, megis yn y talaethau cymmydogaethol, Manitoba ac Alberta, cynnygir tiroedd gan Lywodraeth y Wlad, a rhoddir darn o 160 erw ar yr ammod fod dyledswyddau hawdd perthynol i'r ymsefydliad yn cael eu cyflawni.

Mae'r Rheilffyrdd wedi ymddadblygu yn gyflym yn ystod y deng mlynedd diweddaf, a gwasanaethir Saskatchewan yn awr gan y Canadian Pacific Railway.

---

**Rhai o'r Ardaloedd.**—Gorwedda ardaloedd Moosomin a Qu'Appelle yn y cylch mawr ffrwythlawn, ac nid yw'r tiroedd hyn yn llai ffrwythlawn na'r gwastadeddau enwog yn Manitoba sy'n codi gwenith. Y ddaear sydd dywod-glai, yn orchuddiedig gan 12 neu 18 modfedd o bridd du tyfadwy, yr hwn, wedi ei ail aredig, a wna had-wely ardderchog, hawdd i'w weithio a chynnyrchiol iawn. Mae'r sylwadau hyn yn gymhwysiadol at yr oll o ranbarth dwyreiniol yr ardal. Mae Bryniau Beaver a Touchwood yn y rhan ogleddol yn gyfaddas iawn i fagu anifeiliaid ac yn wir i amaethu. Poblogir Davidson, Lumsden, Craik, Girvin, Hanley, Saskatoon, a Dundurn (trefi cynyddol ar y ganghen a elwir Regina-Prince Albert) i raddau helaeth gan ffermwyr o'r Unol Dalaethau, llawer o ba rai, trwy gynildeb ac anturiaeth, sydd wedi codi adeiladau ardderchog yn y trefi; eraill wedi dadblygu adnoddau a mwyhau gwerth y tir yn yr ardaloedd gwledig, ac yn medi cnydau trymion o wenith, ceirch, a haidd. Y mae eto lawer o gyfleusterau i gael tir yn rhad gan y Llywodraeth, ac am brisoedd rhesymol oddiwrth gwmniau y rheilffyrdd a'r tir. Mae Moose Jaw, yr hwn le hyd yn ddiweddar a dybid ei fod yn derfyn gorllewinol y rhan hono o Dde-Orllewin Saskatchewan sy'n codi gwenith, yn awr yn ganolbwynt ardal fawr amaethyddol. I'r gogledd a'r gogledd-orllewin tua Saskatchewan ceir ymsefydliadau mawrion o ffermwyr boddlawn a llwyddianus. Mae mesuriadau (*surveys*) diweddar i'r De a'r De-orllewin wedi agoryd darn o dir ellir ei gael i wneud cartrefleoedd, ac y mae gosodiad swyddfa tir yn Moose Jaw yn ei gwneud yn hawdd i archwilio'r tir ac i sicrhau mynediad buan i mewn iddo.

Ceir yn Llewellyn ymsefydliad llwyddianus a chryf cynwysedig o Gymry a ymfudasant o Patagonia i Canada, ac y mae eu cyfeillion wedi ymuno a hwynt yn niferi mor lluosog fel y mae ymsefydliad newydd wedi ei leoli yn mhellach i'r gorllewin. Mae'r Ymsefydliad Cymreig i'r dwyrain o Ponoka yn Alberta hefyd mewn sefyllfa lwyddianus a boddhaol. Heblaw hyn, y mae ffermwyr Cymreig wedi ymsefydlu ac yn gwneud yn dda mewn llawer rhanbarth arall o Canada.—(Gwel tudalen 38, llythyr T. S. Ingham.)

**Cartrefleoedd Rhyddion.**—Mae gwneuthuriad Rheilffyrdd drwy yr oll o'r Dalaeth wedi gwneud ymsefydliad yn beth cyffredinol, ac anhawdd yw dangos unrhyw ran yn meddu manteision uwch na rhan arall. I fesur mawr, mae'r hyn ellir ei ddweyd am un yr un mor gymhwysiadol at y lleill. Mae darn mawr o'r tir goreu yn agored i wneud cartrefleoedd rhyddion o bwys. Mae'r cnydau yn cynwys gwenith, ceirch, haidd, pytatws, maip (erfin), a phob math o lysiau. Mae cynyrch rheolaidd y gwenith (Red Fyfe) yn fwy nag 20 bwysel yr acer; a chynyrch rheolaidd y ceirch tua 60. Ni

---

fethodd y cnydau erioed. Heblaw y cynyrch a allforir, mwynha yr ymsefydlwyr farchnad gartrefol sefydlog, a phrisiau da. Mae ffrwythau gwylltion o bob amrywiaeth yn tyfu yn mhob man —mefus, mafon, eirin Mai, cryglus, a rhyfion duon. Digonedd o fan-helwriaeth. Y ffyrdd o ben-bwy-gilydd yn ardderchog.

**Tiroedd ar Werth.**—Heblaw y tir sydd i'w wneud yn gartrefleoedd, gellir pwrcasu y tir cylchynol oddiwrth gwmniau y tir. Mae tiroedd y Canadian Pacific, y rhai a ddetholwyd yn arbenig ar gyfrif eu cyfaddasder at godi grawn, amaethu cymysg, a magu anifeiliaid, ar werth am brisoedd rhesymol ac ar delerau hawdd i ymsefydlwyr. Mewn aml i engraifft, mae ffermwyr wedi talu am eu ffermydd ag un cnwd.

**Magu Anifeiliaid.**—Mae'r wlad yn gyfaddas iawn i fagu anifeiliaid, ac allforir llwythi mawrion i'r wlad hon yn flynyddol. Rhaid porthi gwartheg a cheffylau a'u cadw i mewn am dri neu bedwar mis bob gauaf. Gwna defaid yn well mewn diadellau bychain.

**Gwneud Caws ac Ymenyn.**—Mae'r ardal yn cyfateb i holl ofynion y gorchwyl o wneud caws ac ymenyn yn ogystal a chodi grawn. Mae'r amodau yn ffafriol iawn, oherwydd brasdyfiant y glaswellt, ac amledd y ffynhonau. Mae cyflenwad digonol o ddwfr pur a lledoeredd y nos weithiau yn fanteisiol er gwneud caws ac ymenyn. Mae'r gofynion cartrefol yn bresenol, ac wedi bob bod amser, mor fawr fel y mae cynyrchion y llaeth-dy yn hawlio prisoedd da.

**Gwenith Gauaf.**—Gwnaed arbrawfion a gwenith gauaf, y rhai a droisant allan yn foddhaol. Yn adran Prince Albert, medir cynnifer a 25 a 30 bwshel yr acer oddiar aceri lawer. Bu yr arbrawf yn ei fabandod yn gymaint o lwyddiant fel y dygir ef yn mlaen yn awr gydag yni.

## ALBERTA.

Mae Alberta yn 400 milldir o led ar gyfartaledd a 750 milldir o'r gogledd i'r deheu, yn cynwys arwynebedd o 161,920,000 o aceri, yn gymaint ddwywaith a Phrydain Fawr a'r Iwerddon, ac yn llawer mwy na'r Almaen neu Ffrainc. Mae'r boblogaeth yn agos i 250,000, er y gallai yn hawdd roddi lle i 50 Miliwn. Perthyna i'r Dalaeth dair rhan, yn dangos gwahaniaethau eglur mewn arwynebedd a hinsawdd. Mae'r rhan Ddeheuol yn agored ac yn treiglo, yn wag o goed, oddigerth ar hyd y ffrydiau ac yn man-fryniau y Rockies ; mae'r rhan Ganolog yn fwy neu lai coediog, y cylchoedd o goed yn ddrylliedig yma a thraw gan agorfeydd, rhai o honynt o gryn faintioli ; mae'r rhan Ogleddol mewn dosbarth ar ei ben ei hun. Cynygia pob rhan i'r ymsefydlydd fanteision amrywiol o

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

ran eu nhatur. Sonir am danynt fel y rhan Ddeheuol, Ganolog, a Gogleddol.

## ALBERTA DDEHEUOL.

Tywod-glai dwfr-glydiol cyfoethog yw y tir yma, mewn manau ceir graian a thrumau tywodlyd, ond yn y dyffrynoedd mae y pridd lleidiog bentyrid gan yr oesau gynt wedi cynyrchu daear o'r fath fwyaf cyfoethog ac o ddyfnder mawr. Hinsawdd atdyniadol geir yma, y gauaf yn dymherus, heb ond ychydig eira, tra mae yr haf yn hyfryd. Amrywia is-ddisgynfa'r gwlaw yn ol y gymdogaeth o ddeuddeg i ugain modfedd yn y flwyddyn. Pair yr amddifadrwydd o hono yn misoedd olaf yr haf i'r glaswelltydd brodorol wella ar y tir gan drysori eu rhiniau maethlon yn y fath fodd fel y gall y da porfog dewychu arnynt ar hyd y gauaf. Goddiweddir y lle a thywydd oer ac ystormus ar brydiau yn ystod misoedd y gauaf, ond buan y gwasgerir eira gan y gwyntoedd cynhes a chwythant o'r gorllewin adweinir yn lleol wrth yr enw gwyntoedd y Chinook pa rai am ddyddiau bwy-gilydd barant i'r gwresfesurydd godi bron i uchder tymheredd yr haf.

**Haid-Amaethu (Ranching).**—Mae y rhan haid-amaethol o Canada yn Alberta Ddeheuol ac yn Saskatchewan dde-orllewinol. Amrywia yr haid-diroedd o 1,000 i 20,000 o aceri a thros hyny. Ceir digonedd o laswellt garw-dyf, nid yn y ffurf o dyweirch fel mewn gwledydd eraill ond yn sypynau, a gwna ymborth da i anifail yn y gauaf ac yn yr haf. Crwydra'r ceffylau a'r gwartheg fel y mynont, gadewir hwynt allan drwy gydol y gauaf, ac ymborthant fel rheol ar y glaswellt. Crynhoir gwair gwyllt bob haf.

**Gwenith Gauaf.**—Rai blynyddau yn ol, tybid y parhai y parth yma o'r wlad yn gartref y Cow-boy; ond y mae cyfnewidiad wedi digwydd. Heddyw mae yr haid-amaethwr (*rancher*) yn symud i ffwrdd gyda'i ddeadelloedd i wneud lle i'r ymsefydlydd, a throir y gwastadeddau yn Alberta yn feusydd y grawn melyn ynghyda aceri o sugr-betys (*sugar-beets*) yn y rhanbarthau gorllewinol. Yn ystod yr ychydig flynyddau diweddaf y mae tyfiant gwenith y gauaf wedi ychwanegu yn fawr iawn, a chyfanswm y cynyrch a'r acer fesurydd wedi cynyddu yn ddirfawr. Fe dyf gwenith wedi ei hau yn Awst i uchder 6 neu 8 modfedd yn yr hydref, fe ddaw drwy y gauaf heb chwydd na niwaid, ac er yr ychydig eira a ffyna, daw yn ddiangol trwy dymhor y rhewi a'r dadmer. Bydd yn barod i'r medelwr o'r 1af i'r 15fed o Awst, ac i dyfiant hwn y mae nodweddion yr hinsawdd a'r tir yn dra ffafriol yn y rhan yma o Ganolbarth Canada. O amgylch Lethbridge, Tabor, Cardston, Spring Coulee, Pincher Creek, MacLeod, Stavely, Leavitt, Claresholm, Nanton, High River, Okotoks, ac i fyny i

Calgary, yr oedd y cynydd mewn aceri a hauwyd y flwyddyn ddiweddaf yn deilwng o sylw.

## ALBERTA GANOLOG.

Cynwysa Alberta Ganolog y dyffryn cynyrchiol estyna o tua deugain milltir yn ngogledd Calgary ymlaen am 200 milltir heibio Red Deer Battle, Gogledd Saskatchewan, ac afonydd Sturgeon. Gan fod y rhanbarth yma yn goediog a dyfradwy iawn, ni raid i'r sefydlydd sydd a'i foddion yn brin wario ei gyfalaf er mwyn cael nawdd iddo ei hun a'i braidd. Allan o ystlys y rhiwiau fe dardd ffynhonau o ddwfr barhant yn agored ar hyd y flwyddyn, ac fe geir dwfr croew o fewn 15 i 30 o droedfeddi o ddyfnder.

**Amaethyddiaeth Cymysg, Haid-Amaethu, Llaeth-dai.**—Ymgymerir a rhai'n gyda llwyddiant, a chynyrchir swm rhyfeddol o wenith, ceirch, a haidd. Lle pwrpasol iawn i haid-amaethu yw Alberta Ganolog gan fod glaswellt yn gyfoethog a maethlonol. Ceir diddos-le yma yn rhwydd, ond gwell yw cadw y da i mewn yn ystod rhan o'r gauaf. Yn aml fe dal y llaeth-dai holl dreuliau byw a gweithio y fferm, a cheir elw da o gadw dofednod.

**Rheilffordd.**—Gan fod ymsefydlu ar y blaen i adeiladu rheilffyrdd, gwna diffyg cludiad y grawn amaethu cymysg yn angenrheidiol, yn enwedig cadw anifeiliaid. Gellir eto wneud arian mawr drwy hyn, ac er dyfodiad y rheilffordd i rannau amaethyddol y parthau, parheir i gadw anifeiliaid, ac hefyd gelwir ar i'r tir gynyrchu gwenith, ceirch, a haidd ar gyfer y marchnadoedd tramorol. Fe sieryd yr *Elevators* ddefnyddir i gadw y grawn yn y gorsafoedd yn well nas gall geiriau am gyfoeth grawn-gynyrchiol y parthau hyn. Rhydd y darpariadau geir bron yn mhob gorsaf ar gyfer llong-drosglwyddiad yr anifeiliaid ryw syniad am un arall o'r diwydianau pwysig a llwyddianus geir yma. Y mae llinell y Canadian Pacific yn rhedeg trwy ganol y dalaeth. Yn ymganghenu o honi ar y gogledd a'r de fe geir darnbarthau amaethyddol yn ymestyn am filldiroedd bob ochr i'r ffordd. Dygir arwynebedd eang dan driniaeth, ond erys rhanau mawrion heb eu cymeryd a gynygir yn gartrefi fel rhodd gan y Llywodraeth, ac i'w prynu oddiar law cwmpeini y Canadian Pacific Railway am brisiau rhesymol gyda man-daliadau hawdd.

## PWY A LWYDDANT YN CANADA GANOLOG.

Gall y rhai sydd feddianol ar ryw gymaint o gyfalaf ymgymeryd a gwaith amaethyddol, cymeryd i fyny y tir-roddion, prynu tir gan Gwmniau y Rheilffyrdd, neu brynu ffermydd gwrteithiedig, neu mewn mwngloddio, neu ynte mewn llaw-weithio (*manufacturing*). Mae bywoliaeth yn rhad, gyda manteision addysg, a hinsawdd

---

hyfryd ac iachus. Heblaw y cynorthwyo sydd yn eisieu amser y cynhauaf, y mae hefyd angen am ddynion cryf o nerth corphorol, ag sydd wedi ymarfer a gwaith caled.

**Gwyr Priod.**—Hawdd i wr priod heb ddim plant yw cael gwaith fel fferm-lafurwr, a'r wraig yn cynorthwyo drwy gadw ty; neu yn aml gallant weithio gyda dyn nad yw briod, pryd y cymer y wraig ofal y ty mewn llaw. Ychydig yw nifer y ffermwyr sydd ganddynt ail dy ar y fferm ar gyfer gwr priod a phlant ganddo, ac nid yw y fferm-dy yn ddigon mawr i ddau deulu.

**Dynion Ieuaingc a chanddynt 250 o ddoleri** (£50) **neu lai.**—Gwell yw gweithio am gyflog blynyddol. Cyn diwedd y flwyddyn gyntaf, efallai daw cyfle i brynu chwarter cyfran o dir trwy daliad bychan o arian, a thrwy feddianu nifer fechan o anifeiliaid, gall un fod yn barod yn mhen ychydig i ddechreu ei hun.

**Yr hyn ellir wneud gyda 500 o ddoleri** £100).—Cymerer 160 o aceri ar unwaith a rhodder ty i fyny, yna gwneler y gwelliantau gofynol—a myner gwaith yn y parthau hynaf yn ystod yr haner blwyddyn nesaf, ac yna gellir cartrefu am chwe' mis ychwanegol. Mewn tair blynedd gellir dyfod yn feddianwr ar y fferm.

**Dyn a mil o ddoleri** (£200) **ganddo.**—Gyda'r swm yma fe ellir gwneud dechreuad go dda. Cymerer fferm, neu pryner (gan wneud cyfran-daliad yn estyn dros rai blynyddau). Bydd ty bychan ac adeiladau eraill yn angenrheidiol, ac hefyd geffylau ac ychain, cert, aradr, ac og. Trwy weithio allan yn y cynhauaf, ac adeg dyrnu, gellid enill arian gogyfer y gauaf. Weithiau bydd yn ddoeth ardrethu y flwyddyn gyntaf. Perthyn llawer o'r ffermydd a rentir dy ac ystabl, a bydd y meddianwr yn aml yn barod i roddi had ac hefyd beiriannau, gan gymeryd rhan o'r cnwd fel ad-daliad, neu fe all y sefydlydd newydd (*new-comer*) brynu pob-peth angenrheidiol gan roi i fewn gnwd o 100 i 150 o aceri ac wedi hau gall edrych o amgylch am ddwy neu dair wythnos er mwyn dewis cartref sefydlog.

**Cyfalaf yn Fantais.**—Mae y dyn ag arian ganddo, flwyddyn neu ddwy neu bump, ar y blaen i'r hwn na fedd ond ychydig; gall ar unwaith ymsefydlu, a phrynu ar law yn rhad yr hyn sydd eisieu, a mynd rhagddo yn egniol.

**Yr Adeg i Ddod.**—Gall y ffermwr gymer dir i'w feddiant ei hun, wrth gyrhaedd ar ddechreu gwaith y tymhor, roi i fewn gnwd o geirch neu bytatws yn ystod mis Mai, neu yr wythnos gyntaf yn Mehefin. Os y cyrhaedda yn yr haf gall weled y cnwd yn tyfu, ac felly gael mantais yn hamddenol i ddewis y lle mwyaf addawol. Misoedd yr haf a'r hydref yw yr amser goreu i symud yma a thraw mewn ymchwil am dir. Wedi dewis lle ceir amser i adeiladu ty

---



QUEBEC O'R CITADEL.

a darparu ar gyfer y gauaf. Os dymunir hyn mantais yw bod yn fuan yn y fan ddechreu y gwanwyn.

**Prisiau y Peiriannau a'r Da Byw.**—Yr amcan-brisoedd a ganlyna a roddir o'r swm gofynol i ddechreu yn fuan ac ebrwydd :—

| | | |
|---|---|---|
| 1 gwedd o geffylau .. .. .. | $350 00 | (£50 0 0) |
| 1 set o harneis .. .. .. | 32 00 | (6 12 0) |
| 1 gwagen fferm .. .. .. | 75 00 | (14 10 0) |
| 1 sleigh .. .. .. .. | 25 00 | (5 2 9) |
| 1 aradr dorri (breaking plow) .. | 25 00 | (5 2 9) |
| 1 sofl-wydd (stubble-plow) .. .. | 18 00 | (3 10 0) |
| 1 og (3-section harrow) .. .. | 15 00 | (3 0 0) |
| 1 disc horrow .. .. .. | 25 00 | (5 2 9) |
| 1 hadydd (seeder) .. .. .. | 85 00 | (17 0 0) |
| 1 peiriant lladd gwair .. .. | 50 00 | (10 0 0) |
| 1 Cynhauafydd (harvester) | $135 i 155 00 | (£27 to £81) |
| Celfi a thaclau eraill .. .. | 50 00 | (£10 0 0) |
| (ond nid oes angen yr oll arno yn y dechreu). | | |
| Dylai fod ganddo hefyd— : | | |
| 4 buwch dda yn ol $40 (£8) .. | 160 00 | (32 0 0) |
| 4 o foch da yn ol $15 (£3) .. .. | 60 00 | (12 0 0) |
| 4 o ddefaid da yn ol $5 (£1) .. | 20 00 | (4 0 0) |
| Dofednod .. .. .. .. | 10 00 | (2 0 0) |
| Cyfanswm .. | $1,155 00 | (£231 0 0) |

**Gwerth Cynhenid y Tir.**—Dibyna gwerth cynhenid y tir ar swm a gwerth y cnydau. Talodd un dyn am ei fferm, ac yn mhen pum' mlynedd yr oedd ganddo 4,000 o ddoleri yn y banc, heblaw yr arian oedd ganddo allan ar elw. A chan arall yr oedd elw clir o 9,200 o ddoleri a'i fferm wedi talu am dani. Fel engraifft o'r hyn ellir wneud yn Canada Ganolog, prynodd sefydlydd 450 o aceri am 2,200 o ddoleri, adeiladodd dy ac ysgubor, prynodd stoc dda, ac ymgymerodd a gwaith. Yn mhen tair blynedd cafodd gynyg 12,000 o ddoleri mewn arian parod am ei le fel yr oedd yn sefyll, ond gwrthododd y cynyg gan ddweyd "Deuais yma i wneud cartref i fy mechgyn, a phe bai'r arian mewn llaw genyf heddyw nis gwn am le cystal yn y byd i'w roi allan."

**Canlyniadau i'r Amaethwr.**—Ar gyfartaledd, mewn pedair blynedd ar ddeg yn y Gorllewin, yr oedd swm y cnwd gwenith yn ugain bwysel yr acer, a chyrhaeddodd cyfartaledd y cnwd mwyaf yn agos i 28 o bwyseli. Ceid rhai engreifftiau mor uched a 40 neu 45 o bwyseli am bob acer. Rhaid hefyd yw cymeryd ansawdd y gwenith gorllewinol i ystyriaeth. Dengys y prawfion wnaed gan dri pobydd yn Llundain y cynwysa y gwenith hwn 10 y cant mwy

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

o "Albuminoids" na'r mathau Ewropiaidd goreu, ac y gwna 100 pwys o flawd Canada fwy o fara o ansawdd ragorol nag a wneir o'r un pwysau o unrhyw flawd allforir i Brydain Fawr. I'r ffermwr gorllewinol fe gostia twf bwysel o wenith tua 35 cents, ac elw clir iddo yw y pris gaiff dros ben hyn am dano. 68 cents yw y cyfartal bris wedi bod am rai blynyddau, er amrywio o hono yn ystod pum' mlynedd ar hugain, o 45 cents i un-doler, 25 cents y bwysel. Y pris presenol yw un doler am y gradd uwchaf.

## RHYDD-RODDION O DIR YN CANADA GANOLOG.

Rhydd-roddion o dir i sefydlwyr amaethyddol sydd wedi bod yn arferiad ar ran Llywodraeth Canada am lawer o flynyddau, ac nid yw y telerau mor deg, na'r dewisiad mor eang i'r dosbarth yma mewn un rhan arall o'r Ymherodraeth. Perthyn i'r Dalaeth anferth hon ansawdd tir ac hinsawdd ffafriol i gynyrchu gwenith o'r fath oreu; a holl gnydau y tiriogaethau tymherus, amaethu cymysg, a chadw anifeiliaid a llaeth-dai.

## RHYDD-RODDION A THIR RHAD YN CANADA DDWYREINIOL.

Yn Canada Ddwyreiniol y mae gan Dalaeth Ontario swm anferth o dir mewn meddiant cyhoeddus, rhan helaeth o ba un sydd wedi ei fesur ac yn agored i'w roddi yn dir rhydd.

Ymsefydlwyr gweithredol yn unig gaiff dir i bwrpas amaethyddol gan y Goron, yn ddarostyngedig i ammodau mewn perthynas i welliantau cyn rhoddiad y braint-lythyr (*patent*). Mae'r tiroedd hyn yn fwy neu lai coediog ac angen eu clirio. Mewn rhai rhannau cynygir rhoddion rhydd o dir o 100 i 200 acer, ac yn eraill y mae y tir ar werth am y pris o 2s. yr acer.

Gellir pwyntio allan i'r un sydd yn bwriadu ymsefydlu gyda pheth cyfalaf, fod yna hefyd niferi dirif o gyfleusterau i gael ffermydd wedi eu gwneud yn barod yn y rhannau ymsefydlol o Canada Ddwyreiniol. Y mae gwerth yr eiddo hyn yn amrywio yn fawr yn ol y sefyllfa, natur y gwelliantau a wnaed ac amgylchiadau eraill; ond ar hyn o bryd fe dal y prisiau i'r pwrcaswr yn ardderchog, a rhoddant gartref ar unwaith i'w deulu.

## BARN AMAETHWR AM CANADA.

Tua deuddeng mis yn ol fe ymwelwyd â Canada gan Ddirprwyaeth Amaethyddol Brydeinig, yn cael ei wneud i fyny o ddauar-hugain o amaethwyr profiadol ac eraill oedd yn cymeryd dyddordeb mewn addysgiant amaethyddol a dadblygiad. Treuliasant saith wythnos yn y Wlad, a rhoisant fynegiant o'r boddhad mawr a gawsant o'r hyn welwyd ganddynt.

---

Ar ei ddychweliad o Canada, traddododd Mr. WILLIAM BARBER, M.A., J.P., un o'r Dirprwywyr, yr hwn sydd yn amaethu ei dir ei hun ac yn dal amryw ffermydd yn y bryniau yn cynwys yn y cyfanswm oddeutu 5,000 o aceri, ddarlith. Rhoddir y dyfyniadau a ganlyn o'i ddarlith fel barn diduedd o adnoddau Canada :—

## CANRIF CANADA.

"Addewais y dywedwn ychydig ar Canada fel lle i ymsefydlwyr a threfedigaethwyr. Diangenrhaid yw dweyd fy mod yn credu yn Canada. Credaf fod ganddo ddyfodol mawreddus, a rhydd hyny amser i'r swyddogion yn y pen pellaf i edrych allan am sefyllfa gyfaddas i bob un. Yn ystod y ganrif yr ydym yn ei dechreu fe chwery ran bwysig yn hanes y byd. Er fod ymfudo wedi bod, nid yw y tir o lawer wedi ei feddianu—dim twnrif (*fraction*) o hono, ac fe fydd lle i ymsefydlwyr am lawer blwyddyn i ddod yn nhalaethau mawrion y Gorllewin, yn wir yn unrhyw un o'r talaethau, ond yn fwy arbenig yn y Gorllewin. Gwir fod y tir sydd yn agos i'r Rheilffordd sydd mewn arferiad yn cael ei gymeryd i fyny, ac un ai o dan driniaeth neu yn cael ei ddal gan dir-olygianwyr (*land speculators*), hyd nes yr aiff y prisiau yn ddigon uchel ; ond o 20 i 30 milldir oddiwrth y rheilffordd bresenol y mae digonedd o dir o'r ansawdd goreu y gellir ei gael ar delerau hawdd-iawn. Fel y gwybyddir yn dda, y mae Llywodraeth Canada yn rhoddi 160 o aceri o dir yn rhydd—gyda hawl i brynu, yn ol tua 12s. yr acer, y rhan chwarterol sydd yn cydio, ar rai ammodau o berthynas i drigiad a thori i fyny—i unrhyw un a wna gais ac yn talu tua 50s. Peithdir (*prairie*) yw hwn, wrth reswm, ac y mae yn rhaid gwneud pobpeth iddo er ei ddwyn i lun o fferm. Mae yn rhaid adeiladu ty i gysgu ynddo. Mae yn rhaid darparu cysgod o ryw fath i'r ceffylau, a chloddio ffynon er darparu dwfr iddyn ac anifail ; ac nid oes diogelfa (*fence*) yn yr holl le. Y mae gan Gartrefu, fel y gelwir y dull hwn o gymeryd i fyny dir, ei anhawsterau, a digon tebyg fod lleoedd wedi cael ei tori i mewn yn rhannol yn rhatach am bris nag yw peithdir am ddim. Ar yr un pryd, y mae y tir newydd hwn yn ateb yn rhyfeddol i driniaeth, a chaiff y dyn sydd yn foddlawn i ddioddef y caledi angenrheidiol am ychydig flynyddau ei wobr, a hyny heb orfod aros yn hir iawn. Mae'r wlad, o'r hyn lleiaf yn y gorllewin, yn ieuanc iawn eto. Nid oedd ond yn y flwyddyn 1877 pan yr anfonwyd y bwysel cyntaf o wenith fel cyn-brawf i'r wlad hon o'r Gogledd-orllewin. Yn awr y mae yn debyg fod 100,000,000 o bwyseli o wenith yn cael eu cynyrchu i'r gorllewin o Winnipeg unrhyw flwyddyn, ac yn sicr y flwyddyn hon. Rhoddwyd i lawr y linell gyntaf o reil-ffordd yn 1830. Y mae yna yn awr rhwng 6,000 a

---

7,000 o filldiroedd. Yn 1870 nid oedd ond un canghen o fanc. Yn awr y mae yn agos i 300. Yn 1881 nid oedd ond dau beiriant (*Elevators*) i godi grawn, gyda un neu ddwy o felinau blawd digon disylw. Ar hyn o bryd y mae yna 1,660 o beirianau-codi (*Elevators*) yn medru cynwys 40,000,000 o bwyseli, a melinau blawd yn mhob canolfan pwysig o'r dwyrain i'r gorllewin. Sieryd y ffeithiau hyn drostynt eu hunain. Gwna dyn yn aml *speculation* byrbwyll, ond gwyr cwmniau rheilffyrdd, dynion y peirianau-codi (*Elevators*) ac arianyddion (*bankers*) yn gyffredin yn dda beth y maent yn ei wneud pan y cychwynant anturiaeth ar raddfa o'r fath.

Heblaw hyn, trwy gartrefu, gellir cael tir gan unrhyw un fyddo yn dymuno mewn ffyrdd eraill. Y mae yn bosibl bob amser i brynu fferm sydd yn fwy neu lai wedi bod dan driniaeth. Yn mhob man yr ymwelsom â hwy cawsom ffermydd ar werth, gyda manteision anarferol yn y gwerthydd neu ei oruchwyliwr. Nis gallem beidio synnu at hyn, ond cofier fod y wlad yn fawr iawn a'r boblogaeth yn fechan. Fe gyst y ffermydd hyn mae'n debyg o 15 i 30 o ddoleri yr acer, hyny ydyw £3 5s. i £7 10s. Y tir goreu yn Canada, fel gartref, ydyw y rhataf bob amser, waeth beth fyddo y pris. Gellir yn gyffredin dalu pris pryniad ar delerau hawdd iawn, feallai £1 neu £1 5s. yr acer i lawr, a'r gweddill trwy gyfrannau yn ystod wyth neu ddeng mlynedd. Y mae'r "Canadian Pacific Railway" yn dal llawer iawn o dir yn Alberta, yr hwn a werthir am o 15 i 25 o ddoleri—tir y gellir, mewn tymhor mor dda a hwn, dalu allan o'r cnwd. Ymwelsom a rhai ffermydd oedd newydd gael eu prynu oddiwrth y Cwmni. Dim ond rhan fechan o'r pris oedd wedi ei dalu, ond yr oedd yr amaethwyr yn gobeithio y buasent yn abl i glirio yr oll o'r gweddill pan y deuai pris y grawn i mewn. Nid yn unig fod y rhai sydd yn tyfu gwenith wedi cael cnydau rhagorol y tymhor hwn, ond ychydig iawn o'r grawn gafodd ei niweidio gan dywydd rhew, a mae'r prisiau a dderbyniwyd ganddynt wedi bod yn mhell uwchlaw y cyffredin. Y maent yn gyfangwbl foddhaus arnynt eu hunain a'u hamgylchoedd.

"Y mae yna ffordd arall, ac i ddynion o ychydig foddion nid yw o gwbl yn ffordd anfoddhaol, i ddod i feddiant o dir. Am ryw reswm neu gilydd y mae'r amaethwr eisieu neillduo, wedi gwneud digon o arian, neu fod ganddo fusnes arall y dymuna roddi ei holl amser iddo. Mewn amgylchiadau o'r fath ni ellir bob amser ddyfod o hyd i brynwr, ac fe fabwysiedir cynllun o gael cyfranogwr neu oruchwyliwr gweithiol. Y mae'r fferm, stoc, a'r celfi yn eiddo i'r hen law, ond caiff y dyn newydd gyfran helaeth o'r elw am weithio y lle, ac yn nghwrs ychydig o dymhorau gall—a tebyg y bydd yn abl i brynu allan yr hynaf. Wrth gwrs y mae amryw-

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—
"Gyda y C.P.R."**



FFERM LWYDDIANUS YN ONTARIO.

iaeth mawr yn y trefniadau wneir, ac os y gall y pardner ieuengaf, mewn dull o siarad, roddi rhyw faint o arian yn y lle, y mae ei gyfran ef o'r elw oblegid hyny yn myned yn fwy.

"Fel rheol nid oes talu rhent fel yr ydym ni yn ei ddeall, er fod yna eithriadau, ond yn y talaethau hynaf y mae arnaf ofn fod yn rhaid i lawer iawn o ffermwyr dalu llog ar arwystlau, yr hyn sydd yn llawer gwaeth na thalu rhent.

"Beth ynte, gofynwch, ddylai dyn ieuanc a ewyllysia fyned i Canada wneud? Dibyna yn hollol ar ei dueddiadau, a beth yw y moddion sydd ganddo. A siarad yn gyffredinol, gall y dyn sydd â swm sylweddol o arian ganddo gymeryd ei ddewis, ac y mae agoriadau ardderchog yn cynyg eu hunain iddo yn mhob cyfeiriad. Ar y llaw arall, rhaid i'r dyn ag ychydig foddion beidio dewis, ond pa un ai oes ganddo alwedigaeth neu beidio, os yw yn bwriadu myn'd yn ei flaen, rhaid iddo gymeryd y cyfle cyntaf a gynygia ei hun. Os y gwna y gwaith y caiff gynyg arno gydag ewyllys, a hyny yn drwyadl, gallai fod yn sicr na byddai yn hir cyn i rywbeth gwell droi i fyny. Ni raid i yni, dewrder a chymeriad da aros yn hir cyn cael ei gydnabod. Gwn fod rhai o'n parti ni wedi teimlo ac wedi rhoddi llais i'r amheuaeth pa un a ddylai llafurwyr amaethyddol heb gyfalaf fyned allan i Canada o gwbl. Caniataf ar un waith fod gan y dyn sydd ag arian ganddo i syrthio yn ol arnynt fantais anrhaethol ar y dyn nad oes ganddo ddim, nid oes genyf fi yn bersonol amheuaeth o gwbl y gall un sydd yn barod i wneud ei oreu, ac yn feddianol ar iechyd ac ymarweddiad (*conduct*) da, beidio llwyddo. Dywed un o'm cyfeillion mai tri angenrhaid hanfodol i ddyn yn myned i Canada ydynt—ffydd, gobaith a gewyn a'r mwyaf o'r rhai hyn ydyw gewyn. Y mae y tri hyn yn angenrheidiol, ond yr hyn sydd hyd yn oed yn fwy angenrheidiol ydyw cymeriad wedi ei wreiddio yn gadarn. Gweler fod egwyddorion cymmedroldeb a moesoldeb wedi eu gosod yn y dyn ieuanc cyn iddo adael yr hen gartref, oblegid y mae temtasiynau y cartref newydd yn fawr.

"Fel yn dangos sut y mae dynion wedi llwyddo a aethant i Canada beth amser yn ol, gellir crybwyll ein bod, mewn un lle yr ymwelsom âg ef, wedi cyfarfod deuddeg o geir modur (*motor cars*), wyth o honynt yn perthyn i foneddigion a aethant i'r rhan hono yn llafurwyr 20 neu 25 o flynyddau yn ol, heb ddim ond yr hyn oedd ar eu cefnau. Hwyrach, ie digon tebyg, ei bod yn hawddach gwneud arian yn y ddwy neu dair blwyddyn gyntaf o'r ganrif hon nag y bydd am rai blynyddoedd i ddod, ond fel y dywedais yn barod, y mae y Wlad yn fawr yn mhob ystyr o'r gair, ac ni aiff dyn da ar gyfeiliorn.

---

"Cymaint a hynyna am y dyn heb gyfalaf. Mewn perthynas i'r rhai sydd ganddynt rhyw gymaint o arian at eu gwario, dibyna yn hollol ar eu tueddiadau i ba le y dylent fyn'd a beth ddylent wneud. Os mai tyfu ffrwythau yw'r atdyniad, a digon o foddion, y "Niagara Peninsula" yn Ontario Ddeheuol ydyw un o'r manau goreu a chyfoethocaf y disgwyliaf byth ei weled. Cynygia rhai o ddyffrynoedd British Columbia hefyd agoriadau campus, ac y mae'r hinsawdd yn llawer mwy tebyg i'r eiddom ni. Os, ar y llaw arall, oes gan ein ymsefydlwr-tybiedig flas at a gwybodaeth am wneud caws ac ymenyn, ac yn foddlawn gweithio bob diwrnod o'r flwyddyn, ymddengys mai'r cyfle goreu i wneud arian yn gyflym a diogel mewn gwerthu llaeth yn agos i'r trefi sydd yn codi yn y gorllewin. Mae Regina, Lethbridge, Moosejaw, Calgary, ac Edmonton yn ymddangos yn lleoedd lle y rhoddir cyfleusterau mawrion i'r llaethwr anturiaethus, ac y mae Talaeth Ontario hefyd yn cynyg cyfleusterau. Dichon mai gwenith sydd fwyaf yn ei dueddiad. Os felly, Manitoba Ddeheuol, Saskatchewan, neu Alberta fydd ei gyrchfan. Y mae'r tir yn hawdd ei weithio, a buasai llawer o'r caeau a welsom ni, yn enwedig yn Cardston, Carbery, Brandon, Indian Head a High River, yn peri hyfrydwch ddynion wedi arfer a chnydau trymion gartref. Ymhellach i'r gogledd, yn Edmonton, Prince Albert a Saskatchewan, er engraifft, y mae digonedd o dir tra cyfaddas at dyfu ceirch ac amaethu cymysg. Nid yw'r broblem o auafu gwartheg mor ddifrifol yn y gorllewin ag yw yn y talaethau dwyreiniol, ac yr wyf yn tybied fel yr â amser yn ei flaen y gwna llawer o'r dynion sydd yn awr yn cyfyngu eu hunain i dyfu gwenith ddechreu cadw ychydig wartheg, ac yn y ffordd yma caiff y gwellt sydd yn cael ei losgi ar hyn o bryd ei arfer gyda buddioldeb.

"Heblaw tyfu ffrwythau, gwneud caws ac ymenyn a thyfu gwenith, y mae yna dyrru gwartheg, ceffylau a defaid. Fel y mae y tir yn cael ei gymeryd i fyny fwyfwy at wenith, y mae'r haid-amaethwyr (*ranchers*) yn cael eu gyru yn mhellach yn ol i gyfeiriad y Rocky Mountains, a dichon fod haid-amaethu fel y'i hadwaenid, gyda'i holl agweddau dyddorol a rhamantus, a'i ddyddiau wedi eu rhifo. Fel y mae, y mae angen cryn gyfalaf i haid-amaethu ar raddfa eang, ac y mae haid-amaethu ar raddfa fechan yn ofer.

"Oddiwrth yr hyn yr wyf wedi ei ddweyd fe welwch nad yw Canada yn fy nhyb i, a rhoddaf ef am yr hyn ydyw werth, yn lle i'r diogyn a'r segurwr, ond caiff y dyn sydd a dewrder a dyfal-barhad ganddo wobr sicr o'i lafur o dir hael y gorllewin. Y cwestiwn i mi ydyw sut i roddi neu gael i ddyn o'r fath gychwyniad. Nid ysgubion ond gweddill ein poblogaeth yr ydym yn eu hebgor—y

---

rhai hyny y buasem yn eu cadw yn llawen, ond y teimlem nad oes genym unrhyw beth tebyg i'r cyfle i'w gynyg gartref i'r hyn y gellir ei gael ganddynt yn y Trefedigaethau—ac os yw yn rhaid i ni ffarwelio a'r dynion ieuainc hoew hyny, a ffarwelio sydd raid—oblegid o'i gyferbynu a Canada y mae ein gwlad ni yn fechan a'r boblogaeth yn fawr—dywedaf yma, fel yr wyf wedi dweyd drosodd a throsodd drachefn yr ochr draw, nid oes lle ar ddaear Duw i ba un y buaswn yn fwy boddlawn eu gweled hwy yn myned nag i'r Llywodraeth eang, lle mae'r wybren mor glir a'r ddaear mor rhydd.

"Yr wyf yn hoffi Canada nid yn unig am y gellir gwneud cartref yno, ond yn y cartref hwnw gellid byw y bywyd llawnaf, rhyddaf, a hapusaf. Y mae'r bywyd yn fwy na'r bwyd. Y mae'r corph yn fwy na'r dillad.

"Ie, Mr. Cadeirydd, y dyrys-bwnc ydyw sut i sefydlu y dynion iawn yn ein Trefedigaeth fwyaf, ac nis gallaf beidio meddwl nad oes yna le i anturiaeth rhai o'n dynion arianog, y rhai a wna uno gwladgarwch a gwir ymherawdrwydd gyda buddsoddiant cadarn. Gwna cwmni a blanna ddynion detholedig o iechyd cryf a chymeriadau da mewn lleoedd cyfaddas yn Canada, dynion a chanddynt y tueddiadau a'r galluoedd angenrheidiol, rhoddi iddynt yr arian ymlaen llaw a fyddai yn angenrheidiol am nifer penodedig o flynyddau i'w galluogi i gychwyn, teimlaf yn sicr, ennill cyfran helaeth i'w gyfran-ddalwyr, a gwneud gwir wasanaeth i'r Ymherodraeth. Yr hyn sydd ar Canada eisieu ydyw dynion a chyfalaf. Y mae ganddo mewn digonedd y defnyddiau amrwd (*raw material*). Yr wyf yn ewyllysio y buaswn yn gallu cymeryd rhan llawnach yn ei ddatblygiad.

"Cawsom ein taro yn fawr gan deyrngarwch ardderchog pobl Canada. Mae gan lawer ymlyniad serchus tuag at yr hen wlad, yr hyn a'n cyffyrddodd drosodd a throsodd drachefn. Gartref yma yr ydym yn trin ac yn ystyried cwestiynau am Canada y rhai na freuddwydient hwy am danynt. Er engraifft, byddwn ni yn siarad fel pe tae Canada yn dymuno cael ei uno âg Unol Dalaethau America. Nid yw peth o'r fath byth yn entro meddwl y Canadian am foment. Yn ystod yr ychydig flynyddoedd diweddaf mae miloedd o'r Americaniaid wedi bod yn myn'd i Canada, ac y maent yn gwneud amaethwyr ardderchog. Y mae eu meddwl yn rhy llwyr ar eu gwaith i drafferthu eu hunain lawer a gwleidyddiaeth, ond cyn belled ag y gwnant, cawsom ein sicrhau drosodd a throsodd drachefn, nad oedd gan y Goron Brydeinig ddilynwyr mwy teyrngarol na'r rhai hyny oeddynt hyd yn ddiweddar o dan faner yr Unol Dalaethau.

---

"Yn gyfangwbl, y mae Canada yr Ugeinfed Ganrif yn wlad ardderchog. Y mae pethau mor obeithiol, mor anturiaethus, ac mor rhydd. Y mae pob un yn cael ei werthfawrogi am yr hyn ydyw—nid am yr hyn y mae wedi bod neu yr hyn a all fod—yn unig am yr hyn ydyw. Ni ofynir cwestiynau ynglyn a'i orphenol. Gwlad rydd Duw ydyw, lle mae dyn yn ddyn, a dim mwy. Y mae'r tir yn newydd ac y mae gwynebau y bobl tuag at y blaen, ac wrth y dieithrddyn dywedant mewn effaith: Os oes gennych orphennol anrhydeddus ac agored goreu oll; os nad oes, gadewch ar ol lygredd pethau gwâg ac ail gychwynwch eto ar y lefel."

Gadawodd 70,000 o Amaethwyr Americanaidd yr Unol Dalaethau am Canada yn ystod 1909.

## AMAETHU GWENITH.

Dengys y ffigyrau a ganlyn ddatblygiad amaethu gwenith yn Canada er y flwyddyn 1871 :—

### CYNYRCH GWENITH.

| BLWYDDYN. | PWYSELI (*bushels*). | ACERI. |
|---|---|---|
| 1871 .. .. | 16,723,873 | 1,646,781 |
| 1881 .. .. | 32,350,269 | 2,342,355 |
| 1891 .. .. | 42,223,372 | 2,761,246 |
| 1901 .. .. | 55,372,368 | 4,224,542 |
| 1907 .. .. | 91,333,271 | 6,066,450 |
| 1908 .. .. | 112,434,000 | 6,610,300 |
| 1909 .. .. | 168,386,000 | 7,740,000 |

## Y CYLCH GWENITH.

Y peithdir gorllewinol, er nad yw o lawer yn cynwys yr oll o dir gwenith Canada, ydyw cylch gwenith mawr y wlad, at ba un y dymunwn alw sylw neillduol yn y rhan hon. Fe'i gwneir i fyny o dir amrywiol. Y mae yna'r peithdir pen-moel, gwastad a di-goed; y mae yna'r peithdir eang, yn codi a gostwng fel tonnau y môr; ac y mae yna'r peithdir sy'n cynwys corsydd a choedydd ysgeifn, a adnabyddir yn fwyaf cyffredin wrth yr enw parc-diroedd. Y mae yna dir llaithog a thir sych; y mae yna bridd-glai du cyfoethog a phridd tywodlyd ysgafn. Nid yw yr hinsawdd llawn mor amrywiol ag yw y tir. Y mae'r tymheredd yn amrywio o 100 gradd (*degrees*) Fahrenheit yn yr haf i islaw *zero* yn y gauaf. Y mae yna un rhanbarth sydd rywbeth yn wahanol i'r lleill (yn Alberta Ddeheuol) dros ba un y mae gwyntoedd y "*Chinook*" yn chwythu, lle nad yw'r dymheredd mor eithafol ag yw mewn rhannau eraill. Y mae yno brinder gwlaw ambell i dymhor, a'r gelfyddyd o amaethu gwenith ar y peithdir ydyw trin y tir yn y fath fodd fel ag i'w gadw'n llaith.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

Tra mai gwenith yw y prif gnwd a dyfir ar y peithdir, y mae yna fath o amaethu cymysg yn y rhannau hynaf a mwyaf sefydlog lle mae ceirch neu haidd wedi ei hau i lawr a gwair yn blaenori gwenith. Yn nhiroedd mwyaf newydd y gorllewin pell, er hyny y drefn fwyaf cyffredin ydyw dwy neu dair blynedd o wenith, yna blwyddyn i fraenaru, yna yn ol drachefn at wenith.

## GWENITH HYDREF DIWEDDAR.

Y mae gwenith hydref diweddar a gwanwyn yn cael eu tyfu ar y peithdir. Y mae gwenith hydref yn cael ei gyfyngu y rhan fwyaf i Alberta Ddeheuol, lle oedd unwaith, a hyny heb fod lawer o amser yn ol, yn cael ei roddi i fyny i'r magwr anifeiliaid, am ei fod yn cael ei ystyried yn rhy sych i dyfu gwenith. Cafwyd allan fodd bynag, fod y lleithder, os nad yn llawer, pan wedi ei noddi yn briodol, yn ddigonol, ac fod tynerwch cymharol y gauaf yn ei gwneud yn bosibl i dyfu gwenith hydref diweddar. Ychydig gynnydd, fodd bynag, wnawd, hyd nes y deuwyd a "Alberta Red" i mewn ychydig flynyddau yn ol. Yn 1902, fe hauwyd 3,444 o aceri. Yn 1908, yr oedd y tir o dan wenith hydref diweddar yn Alberta yn unig yn 101,000 o aceri. Y mae hau yn dechreu yn mis Mehefin neu Awst. Y mae'r gwenith yn tyfu i uchder o 6 i 8 modfedd yn yr hydref. Y mae yn aros yn y tir am flwyddyn gyfan. Y mae ei hir-hoedledd yn galluogi ei wreiddiau i dreiddio yn ddyfnach i'r pridd er dod o hyd i leithder a bwyd, a chynyrcha gnwd trymach a chynarach na gwenith gwanwyn.

## GWENITH GWANWYN.

Ond gwenith gwanwyn ydyw asgwrn-cefn mawr amaethwr Gorllewin Canada. Y math mwyaf adnabyddus ydyw "Red Fife." Y mae yn gyfaddas iawn i'r amgylchiadau, ac ymddengys ei fod ar y blaen yn y rhan fwyaf o'r ardaloedd eraill i bob math arall. Mae profiad ymarferol yn Canada wedi boddloni y rhan fwyaf o ddynion fod ychydig rawn amrywiol o safon wedi ei brofi yn well na llawer o rai newyddion, ac fod effeithiau goreu i'w cael drwy wella'r mathau y gellir dibynu arnynt gyda detholiad a thriniaeth ofalus. Am rai blynyddoedd mae ymdrechion mawrion wedi cael eu gwneud i gynhyrchu mathau sydd yn addfedu yn fuan. Yr anhawsder ydyw dal i fyny'r cynyrch a'r ansawdd wrth geisio gwneud hyn, ond fe ddywedir fod y mathau a adwaenir fel Preston, Huron, Stanley, a Perey, yn uno'r rhagoriaethau hyn, sef cynyrch ac ansawdd da, ac addfedu'n fuan. Mwyaf y treiddiwch i'r gogledd y mae'r tymhor yn dod yn fyrach, ond yn yr haf mae'r dyddiau yn hirach, a gwna gwenith addfeda yn gyflym ymestyn llawer ar faes y cynyrchu. Ar hyd y llinellau hyny gorwedd gwaith y "*Canadian*

---

*Seed Growers' Association.*" Gwna aelod o'r Gymdeithas hon sicrhau stoc fel sylfaen, dyweder "Red Fife," cais ddigon i hau rhan o dir llaw-ddetholedig o, yn y fan leiaf, chwarter acer. Yna cyn medi, dethola ddigonedd o'r penau mwyaf tebygol (*typical*) gyda llaw oddiar y planhigion cryf, egniol i roddi had ar gyfer chwarter acer y flwyddyn ddilynol. Pan bydd y tyfwr wedi cyflawni ammodau y Gymdeithas o berthynas i ddetholiad had am dair blynedd, ac wedi magu ei stoc i fyny i safon uchel o ragoriaeth, bydd yn cael ei gofrestru gan y Gymdeithas. Y mae'r Gymdeithas yn derbyn cymhorth oddiwrth yr Adran Amaethyddol a dengys hyn, mewn modd tarawiadol, y cymhorth ymarferol a roddir i amaethwyr gan y Llywodraeth.

## ADEG HAU A MEDI.

Gwell gan yr amaethwr gwenith dori tir y peithdir rhwng dechreu Mai a diwedd Mehefin. Y mae amcan hyn yn amlwg. Y mae llwyddiant cnwd yn Canada yn aml yn dibynu ar y llaithder, ac os bydd y tir wedi ei dori i fyny i amaethyddiaeth yn gynar yn y flwyddyn, y mae yn cadw yr oll o'r gwlaw a ddisgyna ac felly yn sicrhau digon o laithdra am ddwy flynedd i gynyrchu ei gnwd cyntaf. Y draul yr acer i ddod a'r peithdir dan driniaeth, gan belled ag y gallem ni weled, ydyw :—

| | |
|---|---|
| Tori .. .. .. .. .. | $3.50 |
| Gwahanu (*Discing*) .. .. .. | 1.75 |
| Llyfnu .. .. .. .. | .70 |
| Cyfanswm .. .. | $8.95 |

Y mae traul y cnwd cyntaf, yn ol yr acer, yn ychwanegol at dori, gwahanu, a llyfnu, a grybwyllir uchod, fel y canlyn :—

| | |
|---|---|
| Hadu .. .. .. .. .. .. | $0.50 |
| Llyfnu ddwywaith .. .. .. .. | .35 |
| Had—1½ bwysel yn ol dyweder 90 cents y bwysel .. .. .. .. .. | 1.35 |
| Tori, dyweder 19 bwysel .. .. .. | .40 |
| Llinyn cyfrodedd (*twine*) .. .. .. | .30 |
| *Stooking* .. .. .. .. .. | .20 |
| Byrddio dynion a llusgo grawn .. .. | .5 |
| Dyrnu—19 bwysel yn ol 7 cents y bwysel .. | 1.33 |
| Gyda'u gilydd .. .. | $4.48 |

Y mae'r ffigyrau uchod wedi cael eu gwirio yn ofalus, a gellir eu derbyn fel uchafnod y draul. Fe welir fod côst y cnwd cyntaf yn cyrhaedd $10.43. Bydd côst y cnwd dilynol tua $8 neu lai. Y mae'r elw yn dibynu llawer ar bris y gwenith. Cymerwn ni ef



PRIF HEOL, WINNIPEG.



PORTAGE AVENUE, WINNIPEG.

yn 80 cents. Y mae wedi bod llawer is, ac yn llawer uwch, ond gan fod y tueddiad am nifer go dda o flynyddoedd yn debyg i fod i fyny yn hytrach nag i lawr, yr ydym yn meddwl na chodir gwrthwynebiad i'r ffigiwr. Y mae yn fwy na cyfle i'r dyn ag ychydig foddion, ac y mae yna gyfleustra ardderchog i ddyn ag ymenydd ac arian.

## GRADDAU O WENITH.

O dan Ddeddf Arolygiad a Gwerthiant 1906, y mae Canada wedi ei rannu i ddwy Adran Arolygol. Y mae'r Adran Ddwyreiniol yn cynwys yr oll o Ontario i'r dwyrain o Porth Arthur, a thalaethau Quebec, New Brunswick, Nova Scotia, a Prince Edward Island; a'r Adran Orllewinol neu Manitobaidd yn cynwys Ontario i'r gorllewin ac yn cynwys dosbarth Port Arthur, Talaethau'r peithdir, a British Columbia. Yn ol y Ddeddf y mae yna rai graddau o wenith gwanwyn yn yr Adran Orllewinol ac y mae gallu i ychwanegu y nifer. Y graddau sydd yn bodoli ydynt:

No. 1 Manitoba Hard.
No. 1 Manitoba Northern.
No. 2 Manitoba Northern.
No. 3 Manitoba Northern.
Commercial Grade No. 4.
Commercial Grade No. 5.
Commercial Grade No. 6.
Commercial Grade Feed.

Y mae yn ddyddorol edrych ar y graddau hyn fel y maent yn myned o'r felin ac yn cael eu troi yn flawd:—

| Rhif y Felin. | GRADD. | Pwysau y bwysel fel ei derbynir. lbs. | Colled mewn glanhau y cant | Pwysau ar ol glanhau. lbs. | Break Flour. y cant | Straight Grade Flour. y cant |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 160 | No. 1 Manitoba Hard | 62.9 | .9 | 62¾ | 9½ | 65 |
| 162 | No. 1 Manitoba Northern | 61½ | 2.3 | 61¾ | 10 | 62½ |
| 163 | No. 2 Manitoba Northern | 61 | 2.5 | 61½ | 10 | 62 |
| 165 | No. 3 Manitoba Northern | 69½ | 3.7 | 60 | 9 | 59½ |
| | Commercial Grade No. 4 | 58 | 4.5 | 58¾ | 8 | 56 |
| 168 | Commercial Grade No. 5 | 58 | 3.2 | 58½ | 7½ | 56 |
| 169 | Commercial Grade No. 6 | 56 | 3.5 | 57½ | 6 | 50½ |
| | Commercial Grade Feed | 54 | .. | | .. | .. |

Nid oes cwestiwn o gwbl mewn perthynas i ansawdd ragorol y graddau goreu o wenith Canada. Yn ystod y blynyddau diweddaf y mae gwenith No. 1 Hard Manitoba wedi bod yn gwerthu am 35s. y chwarter, tra mae gwenith gauaf Kansas a Russian Hard wedi bod yn gwerthu am tua 33s. y chwarter. Y mae gwenith Seisnig yn ddiffygiol mewn nerth, hyny yw, gyda pwysau cyfartal o flawd

---

cynyrcha dorth fechan o'i chydmaru a gwenith Canada. Hwyrach fod y dyfyniad canlynol o lythyr ysgrifenwyd at un o'r Dirprwywyr gan y Gymdeithas Cyfanwerthol Cydweithiol yn Ysgotland yn dwyn y dystiolaeth oreu yn ffafr gwenith Canada, cwmni sydd yn cyflenwi gyda nwyddau oddeutu un ran o bump o holl boblogaeth y Deyrnas Gyfunol :—"Yr ydym yn defnyddio," ysgrifena'r Gymdeithas, "symiau mawrion o wenith Manitoba ac yn hollol foddhaol ar ei ansawdd. Yr ydym wedi trefnu i adeiladu chwech o beirianau-codi (*Elevators*) yn Manitoba i ddechreu."

## LLAETH AC YMENYN.

Y mae amcan-gyfrif yr arian dderbynir oddiwrth laeth a chynyrch llaeth yn Canada yn $94,000,000, yn cael ei wneud i fyny fel y canlyn :—

| | |
|---|---|
| Ymenyn Hufenllud a Chaws .. .. .. | $36,000,000 |
| Ymenyn Llaethdy (*Dairy Butter*) .. .. | 22,000,000 |
| Llaeth wedi ei dewychu (*condensed milk*) .. | 1,000,000 |
| Llaeth ar gyfer treuliad uniongyrchol .. | 35,000,000 |
| Cyfanswm y gwerth .. .. | $94,000,000 |

Y mae gwneud caws ac ymenyn yn ddyledus am safbwynt aruchel yn y Drefedigaeth i'r ffaith ei fod yn holl-bresenol (*ubiquitous*). Nid oes ardal yn yr holl wlad lle na wneir i fuwch brifio a rhoddi at-daliad da am y gofal a roddir iddi ; ac nid oes dalaeth lle na welwch ffatrioedd caws ac ymenyn.

## RHYWOGAETHAU (Breeds).

Yn naturiol, dechreua un gyda'r gwartheg. Y mae yn agos dair miliwn o honynt yn Canada, Ontario yn hawlio dros un filiwn, a Quebec dros dri-chwarter miliwn. Dim ond cyfran fechan sydd o rywogaeth bur, a thebyg mai ychydig o'r rhai hyn sydd wedi cael eu rhestru.

Yn y mintai llaethog, y mae croes-rywogaeth o *Shorthorns*, Ayrshire, Holstein a Jersey yn gyffredin, ac nid yw *specimens* y rhywogaethau pur o'r holl rywogaethau hyn o gwbl yn brin. Y fuwch oreu am laeth yn Canada, pan ystyrir y swm yn unig, yw yr Holstein.

## CYNNYRCHION LLAETH.

A'i chymeryd yn ei gyfangorph y mae'r mintai llaethog (*dairy herds*) yn agored i welliantau mawrion. Fe osodir cyfartaledd cynnyrch buwch Canada ychydig yn fwy na 300 o alwyni y flwyddyn, yn amrywio, yn ol cyfrifon 1900 o 4,038 pwys yn

Ontario mor isel a 2,184 pwys yn Prince Edward Island. Y mae'r ffigyrau hyn yn cyferbynu yn anffafriol iawn, nid yn unig gyda tystiolaethau (*records*) Ysgotaidd a Danaidd ond hefyd gyda tystiolaethau minteioedd sydd wedi eu porthiannu yn dda ac wedi eu dethol yn dda yn Canada. Cawsom yn fynych yn nghwrs ein taith dystiolaeth foddhaol o gyfartalau oeddynt yn llawer iawn uwch.

## FFATRIOEDD CAWS, YMENYN A HUFEN.

Y mae rhan helaeth o'r llaeth gynnyrchir yn y Drefedigaeth yn myn'd un ai i'r ffatrioedd i'w wneud yn gaws neu ynte i'r *creameries* i gael ei wneud yn ymenyn. Rhifa y sefydliadau hyn ddim llai na 4,305, o ba nifer y mae 4,000 wedi eu lleoli yn Ontario a Quebec.

## FFATRIOEDD TEWYCHU LLAETH.
### (Condensed Milk Factories).

Y mae yna ddeg o'r ffatrioedd hyn yn Canda. Yn Ingersoll yn Ontario y mae un fawr iawn mewn gwaith. Un diwrnod derbyniodd 7,000 o alwyni o laeth, ac ar amgylchiad arall 12,800. Y mae yn ymgymeriad hynod lwyddianus. Y pris a delir ar gyfartaledd am laeth ydyw 5½c. y galwyn yn cynwys cludiad i'r ffatri. Y mae y llaeth, modd bynag, i gael ei gynnyrchu o dan ammodau neillduol.

## BWYD Y GWARTHEG.

Y llaethwr mwyaf llwyddianus yn Canada, fel gartref, ydyw'r dyn sydd yn mân-werthu ei laeth yn y trefi. Ychydig o attaliadau sydd ganddo; mae ganddo wartheg rhad; bwyd rhad, a phris da am ei nwyddau masnachol. Yn wahanol i'w gymydog, yr hwn sydd yn cyflenwi y ffatrioedd, y mae yn rhaid iddo ef gael digon o laeth ar hyd y flwyddyn, ac felly y mae yn rhaid iddo sicrhau digon o fwyd ar gyfer y gauaf. I'r pwrpas hwn yn mhobman gwair ydyw angor pob llaethwr. Gall bwydo wahaniaethu mewn manion eraill yn ol lleoliad, ond yn mhob rhan o'r Drefedigaeth y mae gwair yn cael ei ystyried yn hanfodol i fwydo gwartheg yn y gauaf. Rhydd rhai amaethwyr bron ddim arall iddynt, ond y mae'r dyn anturiaethus, yn enwedig os yw yn mân-werthu llaeth, yn credu mewn bwydo yn dda yn mhob tymhor.

## MAGU ANIFEILIAID.

Buasai un yn naturiol yn dod i'r casgliad y gwnai diwydiant o fagu anifeiliaid y gorllewin ddiflanu o flaen mewn-ruthriad yr ymsefydlwyr. Eto y mae hyn yn bell o fod yn wir. Mewn gwlad codi stoc fel hon y mae gallu y tir yn cael ei gyfyngu yn ol swm y

---

stoc y mae yn abl i gynnal dros y gauaf. Yn nyddiau yr haid-amaethdai mawrion, pan yr oedd yna rannau rhydd diderfyn ar wahan i'r tir oedd yn cael ei berchenogi neu ei ddal, yr ymdrech oedd i redeg stoc mor fawr ag oedd yn bosibl gyda'r gofal lleiaf. Yr effaith naturiol oedd ei bod yn amhosibl cael porthiant gauaf i ragor na rhan fechan o'r stoc, a gadewid yr anifeiliaid hynaf i edrych ar ol eu hunain yn ystod y gauaf. Pan roddid ychydig dymhorau agored gweithia hyn yn eithaf, ond y mae'r anochel-adwy yn sicr o ddigwydd, ac yn ei gylch daeth hanes colledion ofnadwy i gael eu hadrodd.

Yn awr, fodd bynag, y mae cyfnod newydd yn gwawrio. Y mae'r ymsefydlwyr yn ddyddiol yn myned mwy allan ac yn lleoli cartrefleoedd yn y manau. Cymerant i fyny eu chwarter neu hanner-rhan, a chant allan y gallant, gydag ychydig iawn rhagor o drafferth nag oeddynt wedi ei gymeryd ar eu daliadau (*holdings*), os oes ganddynt ddigon o arian i gychwyn, redeg cymaint ag o 40 i 50 o wartheg a'u cynnyrch. Gallant wneud digon o wair corslyd yn yr haf i sicrhau y gallant gario eu stoc trwy y gauaf gyda diogelwch; y mae'r drefn hon yn cael ei dilyn gyda llawer o lwydd-iant, a ni y rhai oeddym yn llawn ddisgwyl cael allan y dangosai cyfrifon yr anifeiliaid leihad cyson yn y talaethau haid-amaethol gan ddilyn torri i fyny y tir, a gawsom ein synnu i gael allan mai yn hollol i'r gwrthwyneb y mae.

Y mae yna rannau helaeth yn y talaethau haid-amaethol, y rhai, er yn eiddo i gwmni rheilffordd neu dirol, sydd yn gorwedd heb eu meddianu a'u cau i mewn, ar ba rai y ca unrhyw un ryddid i fagu stoc; ac i'r cartreflewr, sydd wedi myned allan ar y blaen i'r rheilffordd ac yn aros y diwrnod pan y bydd o fewn cyrhaedd marchnadol iddi cyn torri y tir i fyny, y mae'r rhyddid hwn yn beth mawr. Dechreu mewn ffordd syml, erbyn diwedd pedair blynedd ca ei hun yn feddianol ar nifer barchus o anifeiliaid yn cynrychioli swm da mewn arian.

## YR HYN DDYWED YR YMSEFYDLWYR.

### BARN CYMRO AM CANADA.

Llewellyn, P.O., Sask., Ionawr 19eg, 1909.

Anwyl Syr,—Daethum o Gaerfyrddin, Deheudir Cymru. Ar y 15fed o Fawrth, 1907, gadewais am Canada. Glanio yn Halifax, deuthym i Toronto. Yma cefais le fel llafurwr ar ffarm am gyflog o $20 y mis, a chennyf ar y pryd $25 yn fy meddiant. Gan feddwl gwella fy sefyllfa, ymdeithiais i'r gorllewin a deuais i Saltcoats, Saskatchewan, tua diwedd Ebrill, lle yr oedd fy mrawd a 'nghefn-der, y rhai ddaethant allant yn yr un llong, wedi myned o'm blaen. O fewn dau ddiwrnod derbyniais le drachefn fel llafurwr ar ffarm

am gyflog o $25 y mis. Arhosais yma bedwar mis, ac wed'yn aethum ychydig i'r de lle yr arhosais gyda chyfaill i mi am gyflog o $30 y mis. Ar ol gweithio yma am tua chwech wythnos fe ddarfu i ni ein dau ymuno a dyrnwyr, lle y gweithiais yn barhaus am chwech wythnos yn ol $2 y dydd. Treuliais y gauaf gyda'm cyfaill.

O berthynas i fy marn am Canada, yr wyf yn ei ystyried yn lle cyfaddas i bobl ieuainc diwyd o Brydain y rhai sydd yn awyddus am wella eu hunain; ac yn fwy neillduol y rhai hyny sydd yn feddiannol ar ychydig arian, ac ni allent gael lle gwell i roddi eu harian na chymeryd i fyny gartrefle yn Canada, a thrwy hyny sicrhau cartref o'r hwn y byddant yn falch hyd ddiwedd eu hoes. Byddant felly yn rhydd oddiwrth holl bryderon o gofidion y mae yn rhaid iddynt fyned trwyddynt mewn gwlad mor dew ei phoblogaeth a Phrydain Fawr.

Yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) DANIEL JONES.

## CYMERWCH PA WAITH BYNAG DRY I FYNY—AC Y MAE LLWYDDIANT YN SICR.

Manitoba, Ionawr 10fed, 1909.

Anwyl Syr,—Fe'm ganwyd yn Longham, lle gwledig yn agos i Oakham, Rutland, Lloegr, lle y'm dygwyd i fyny. Cychwynais i weithio am y tro cyntaf yn yr un pentref pan oeddwn newydd gyrhaedd 12 mlwydd oed. Cychwynais i weithio i amaethwr fel gwas cyflog am naw mis—£2 10s. am y naw mis, ac arhosais gydag ef ddwy flynedd a naw mis, a'r flwyddyn olaf yr oeddwn yn cael £5 10s. y flwyddyn ynghyd a bwyd. Wedi hyny aethum i weithio i amaethwr arall yn yr un pentref, a'r tro hwn arhosais gydag ef dair blynedd, a'r cyflog oedd £8 yn ystod y flwyddyn gyntaf, yr ail flwyddyn £11, a'r drydedd flwyddyn £14. Wedi hyny drachefn aethum i weithio i amaethwr arall, a gweithiais gyda hwnw un naw mis am 16s. yr wythnos, ac fe ddarfyddodd hyny fi gydag amaethu; wedi hyny gadewais gartref ac aethum i Somercotes a Riddings, dau o leoedd bychain yn Swydd Derby.

Gadewais yr hen wlad, yn rhwym am Canada, ar y 13eg o Ebrill, 1907. Hwyliais via New York, i Toronto, yr hon ydyw y ddinas fwyaf cain y bum ynddi eto. Cefais fy nghyflogi fel llafurwr yn Toronto am $2.00 y dydd yr haf cyntaf yr oeddwn yn y wlad, ac yn hydref y flwyddyn pan ddaeth amser y cynhauaf gwnes fy meddwl i fyny i fyned i'r gorllewin i gynhauafu, lle y gweithiais yn y cae am 14 diwrnod am $2.25 y dydd a bwyd, ac ar ol hyny, pan yn dod i fyny i Winnipeg, cyflogwyd fi i yru gwedd o geffylau

yn Lumsden, Sask., am $40 y mis a bwyd; ac wedi hyny aethum i'r Gorllewin am 6 mis am $30 y mis a bwyd; yna, trwy i wanwyn 1908 fod yn farwaidd, aethum i gloddio ffosydd i rhyw waith dwfr am yr hyn y cefais 20 cents yr awr, ac ar ol bod yno ychydig amser cefais 22½ cents yr awr, ac ar ol i mi fod gyda nhw am tua tri mis rhoisant fi yn *foreman* ar waith am yr hyn yr oeddwn yn cael $2.50 y dydd hyd nes i'r gauaf roddi terfyn ar ein gwaith.

Yn awr, am roddi cynghor, ni fuaswn byth yn perswadio unrhyw un i dd'od i Canada, oblegid y mae yna gymaint sy'n d'od nad ydynt yn hoffi y wlad a phob amser yn ei rhedeg i lawr; ond dywedaf fi fy hunan fod y wlad yn gymhwys yr hyn y maent hwy yn ei gwneud, wrth ddweyd yr hyn yr wyf yn llwyr gredu fod Canada yn mhell ar y blaen i'r Hen Wlad i weithiwr os yn edrych ar ol ei hunan pan y daw yma ac sydd yn barod i droi ei law at unrhyw beth a ddaw i'w ffordd.

E. G. WILLIAMS.

## Y WLAD OREU YN Y BYD.

Findlay, Manitoba, Ionawr 25ain, 1909.

Anwyl Syr,—Ar y 9fed o Fai, dwy flynedd yn ol, gadewais fy mhentref genedigol Langham, yn agos i Oakham, Rutland, i fyned allan i Canada i wella fy sefyllfa. Gartref yr oeddwn yn was bach mewn ysgol ramadegol; yn derbyn y cyflog bychan o £8 yn y flwyddyn am fy llafur. Er fy mod braidd yn ieuanc i adael cartref a gwynebu ar wlad ddieithr, penderfynais hwylio am Canada gyda'm ychydig enillion, yr hwn le yr oeddwn wedi clywed gymaint ó ganmoliaeth iddo. Pan gyrhaeddais Quebec, a chenyf ychydig o ddoleri yn fy llogell, cymerais y tren i Toronto, ac ni bum yn hir cyn cael gwaith. Ar ol bod yn y dwyrain am yn agos i bedwar mis troais fy wyneb am y rhan orllewinol o Canada, gan gyrhaedd Winnipeg yn mis Medi. Yr oedd dyrnu newydd ddechreu, a chefais waith yn hawdd gyda'r gorchwyl hwnw, ac yr oeddwn yn gyru gwedd o geffylau ac yn derbyn $2.25 y dydd a bwyd. Bum yn gwneud hyn am tua ugain o ddyddiau, felly daeth ag ychydig o ddoleri i mewn i mi. Ar ol y dyrnu, cymerais y trên yn ol am Winnipeg drachefn, ac yn ddioed cefais le fel gyrwr gwedd. Treuliais y gauaf yn y llwyn (*bush*), lle mae'r cyflogau yn weddol uchel yn misoedd y gauaf. Ar fy nyfodiad allan yn y gwanwyn meddyliais y buaswn yn caru cael gweled beth oedd bywyd ar y fferm; y mae digonedd o waith bob amser i'w gael yno, ac ni bum yn hir cyn i mi gael gwaith gydag amaethwr yn Findlay, lle yr wyf yn awr yn ennill cymaint a allaf o brofiad yn y ganghen hon o ddiwydiant amaethyddol. Yr wyf yn hoffi y wlad



AMAETHU GWENITH YN SASKATCHEWAN.

orllewinol yma o Canada yn fawr iawn, ac nid yw yn edifar gennyf ddyfod allan yma, yr wyf yn ystyried fod yr hinsawdd yn iachus a nerthol, y gauaf, er ei fod ychydig yn hir, yr hyn ydyw ei unig fai, ond y mae yn gryfhaol iawn os bydd gan ddyn ddilladau cynes. Darllen papyrau newyddion yr Hen Wlad ar bwnc y di-waith yn Lloegr, y mae yn resynus nad all y Llywodraeth neu rai o'r undebau llafur mawrion Prydain roddi iddynt bob cymhorth i ymfudo i Canada Orllewinol, lle y deuant o hyd i bob math o waith am wyth mis o'r flwyddyn beth bynag, y mae'r cyflogau yn ddwbl beth gawsant yn Lloegr. Y mae llawer o le i waith yma. Y mae yna ddynion, y rhai a gyfarfyddais ar fy ymdeithiau yn y wlad hon, yn rhoi i fyny ac yn myned gartref a dweyd nad yw y wlad o ddim gwerth, ond dywedwn i nad yw'r dynion hyn o unrhyw werth ac nid y wlad, gan nad oes amheuaeth nad yw hon y wlad oreu yn y byd i'r dyn sydd eisieu gwneud cartref cysurus iddo ei hunan, os yw o duedd weithgar.

Yn mhen rhyw ddwy flynedd yr wyf yn bwriadu myned yn ol at fy rhieni i Loegr cyn ymsefydlu yn Canada. Gwnaf pan gartref roddi enw da i'r wlad hon, gan ei bod yn ei haeddu. Byddaf yn cynghori pawb gartref os oes arnynt eisieu gwella eu sefyllfa mewn bywyd yn gymharol hawdd, am fyned i'r rhan orllewinol o Canada.

Ydwyf, yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) J. O. CONDER.

## FE DDEUAI EI GYFEILLION PE Y GWYDDENT SUT LE YW CANADA.

Clear Lake Farm, Claresholm, Alta.,

Ionawr 17eg, 1909.

Anwyl Syr,—Deuthum o Glastonbury, yn Swydd Somerset, lle y bum yn gweithio am naw mlynedd, yr oedd fy nghartref yn Evercreech, pentref tua deng milldir o Glastonbury, ond gadewais gartref cyn gynted ag yr oeddwn yn abl i adael yr ysgol. Yr oeddwn yn un o deulu o ddeg a fy nhad yn llafurwr ar fferm; bu raid i mi adael yr ysgol pan oeddwn yn un-ar-ddeg oed. Pan ddechreuais weithio yr oeddwn yn ennill dau swllt yr wythnos a'm bwyd, ac yn gorfod talu pymtheg ceiniog am letty a phrynu dillad fy hun. Yn ystod y naw mlynedd yr oeddwn yn gweithio cododd fy nhâl i naw swllt yr wythnos a bwyd. Fy ngwaith oedd cymeryd gofal o wartheg a defaid oedd yn pori a gwneud yr hyn oedd eisieu ar y tir. Gwnes fy meddwl i fyny i ddod i Canada. Yr oeddwn yn gwybod am ddyn arall oedd yn dyfod allan, ac hefyd brawd hynach; gadawsom Loegr ar y 15fed o Fawrth, 1907. Yr oeddym tua pythefnos ar y ffordd, a phan y cyrhaeddais yr oedd genyf

rhyw 5 dolar yn weddill. Cefais waith ar ol hyny ar fferm yn o 30 o ddoleri am y mis cyntaf a 35 o ddoleri y mis ar ol hyny, ac yr wyf wedi aros yn yr un lle byth er hyny. Yn anffodus cefais glefyd y Typhoid tua diwedd yr haf cyntaf, ond nid wyf yn beio'r wlad am hyny gan y buaswn llawn mor debyg o'i gael yn rhywle arall, ac er fy mod agos yn estron i bawb yma cefais y gofal goreu a daeth llawer i'm gweled. Bum yn ffodus i gael cartrefle heb fod yn mhell o Claresholm, a bydd raid i mi fynd yno yn Ebrill. Yr wyf wedi ennill digon o arian i brynu tri ceffyl, gwagen, a'r rhan fwyaf o'r defnyddiau y byddaf eu hangen ar y cartrefle. Fe aeth y dyn ddaeth allan gyda mi yn ei ol ar ol yr haf cyntaf, ac aeth fy mrawd yn ol yn yr hydref diweddaf, ond yr wyf fi wedi gwneud digon o gyfeillion er pan ydwyf yma, felly nid wyf yn eu colli. Fy meddwl i o'r wlad ydyw ei bod yr unig le i ddyn ieuanc, a phe byddai llawer o'm cyfeillion yn Lloegr ddim ond gwybod sut y mae mewn gwirionedd allan yma ni buasent yn aros yna wythnos arall. Nid yw y gwaith yn galed, ond y mae digon o hono, ac y mae y tal yn llawer gwell nag ydyw yna.

Ydwyf, yr eiddoch yn bur,
(Arwyddwyd) WM. J. GRIFFIN.

## CANADA A'I MANTEISION.

GAN

T. SAML. INGHAM.

Ebenezer, Sir Gaernarfon,
Hydref 20fed, 1909.

Fel llawer un arall 'roeddym wedi clywed mawr son am wlad fawr Canada, ac awydd am ei gweled a barnu drosom ein hunain.

Yn mis Mawrth diweddaf, daeth Mr. Wm. Griffiths, Cynrychiolydd Arbenig Llywodraeth Canada, i'r ardal hon i areithio, ac fe gafodd ei ymweliad a ni y fath argraff arnom fel yn mis Mehefin aethum allan am dro i Saskatchewan, i'r Sefydliad Cymreig.

Wedi taith hynod ddymunol wele ni yn ninas fawr a phrydferth Winnipeg, yn Manitoba, dydd Sul, Gorphenaf 11eg. Mae yn ddinas ag sydd yn werth dod yr holl ffordd o Gymru i'w gweled. Yma mae y farchnad yd fwyaf yn Ymherodraeth Prydain Fawr. Yma hefyd mae'r canolbwynt o'r hwn y bydd ymfudwyr yn cael eu chwalu am y Gorllewin pell. Winnipeg yw'r "Grand Junction" am diriogaethau'r Gorllewin. Mae trefniadau y Llywodraeth yn y ddinas hon ar gyfer ymfudwyr yn ardderchog. Mae yma neuadd fawr, lle gall yr ymfudwr a'i deulu aros yn rhad ac am ddim am saith diwrnod. Cegin fawr a phopeth angenrheidiol at wneud bwyd (ond rhaid i'r teithydd ofalu am y defnyddiau); a gwelyau ac ystafelloedd glan, a'r oll am ddim.

---

Mae yn y dref lawer iawn o Gymry; ac mae ynddi "achos" crefyddol Cymreig—sef yr "United Welsh Church" yn Portage Avenue. Cawsom ymgom a llawer o'n cyd-genedl tra yn y dref, a phawb o honynt a gair da am y wlad.

Yn ystod ein arhosiad yn Winnipeg cawsom gyfle i edrych i mewn i lawer o faterion yn nglyn a llafur a masnach. Mae'r wlad yn y Gorllewin yn myned ar gynydd mor gyflym fel mae gofyn mawr iawn am ddynion a merched i wasanaethu ar y ffermydd. 'Roedd eisieu dros ddeng-mil-ar-hugain (30,000) o ddynion ei casglu i fewn y cnydau, ac yr oedd y cyflogau yn uchel, sef o 12s. i £1 y dydd, a bwyd a llety.

Gall dynion ieuainc gweithgar a sobr gasglu digon o arian yn y wlad hon mewn rhyw dair blynedd fel ag i gymeryd fferm o 160 o aceri eu hunain, pa un a geir yn rhad ac am ddim; ac mae llwyddiant yn sicr o ganlyn eu hanturiaeth drwy ddyfalbarhad. Mae y syniad gan filoedd mai gwlad goediog yw Canada drwyddi draw. Mae hyn yn gamsyniad dybryd. Teithiasom filoedd o filldiroedd drwy rannau mawrion o'r wlad ag oedd yn wastadedd di-ben-draw, o'r bron, a dim coeden i'w gweled yn un man.

Treuliasom bedair wythnos o amser yn nghanol y Sefydliad Cymreig, sef yn Bangor, Llewellyn a Glyndwr, yn nosbarth Yorkston, Saskatchewan. Mae gan bob penteulu fferm o 160 o aceri o'r tir goreu yn y wlad, a'r rhan fwyaf o'r bechgyn ag sydd dros 18 oed fferm o'r un faint, stoc dda o geffylau, gwartheg, moch ac felly'n mlaen, yn nghyda adeiladau da a chlyd, a phob math o offerynau at drin y tir a chasglu i fewn y cnydau toreithiog, wageni a cherbydau. Mae ein cyd-genedl yn y rhan hon o'r byd yn hynod hapus a da eu byd. Nid oes ganddynt y fath beth a "diwrnod talu'r rhent," ac ni raid iddynt "ofyn gwen nac ofni gwg" yr un tirfeddianwr, na pesgi phesanod ac ysgyfarnogod i'r gwr bonheddig, na thalu at gadw cwn hela.

Mae'r tir o'r ansawdd (*quality*) goreu, o liw du, ac o ddwy i bedair troedfedd o drwch ar glai. Y canlyniad o hyn yw fod y cnydau yn fawr iawn y naill flwyddyn ar ol y llall, a hyn heb orfod cwrteithio (*Manuring*).

Mae'r wlad yn hynod o iach; ac yn ol tystiolaeth pawb a welsom mae'r gauaf yn dra dymunol at ei gilydd. Yn wir, gwell gan yr hen sefydlwyr y gauaf na'r haf.

Mae Canada yn wlad ardderchog i ferched ieuainc mewn mwy nac un wedd. Mae yno ddigonedd o waith i'w gael a chyflogau uchel, sef o £2 10s. i £9 yn y mis, a lleoedd cysurus i wasanaethu ynddynt. Heblaw hyn, mae y rhan fwyaf yn priodi yn dda ac yn sefydlu yn y wlad.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

I'r sawl ag sydd a'u bryd ar wella eu hamgylchiadau drwy ymfudo gallwn yn gydwybodol anog pawb i sefydlu yn Canada, gan mae yn wlad rhydd, iach, a lle hynod o dda i'r dyn a'r ddynes ddiwyd. Aeth ein mab, bachgen 22 mlwydd oed, allan gyda ni, ac mae ef wedi sefydlu yn Nhalaeth Manitoba; ac, ni gredwn, fod hyn yn cadarnhau mewn modd ymarferol ein syniad uchel am y wlad ardderchog hon—Canada.

## NOVA SCOTIA YN WLAD Y CYFLE.

Amherst Point, Cumberland County, N.S.,

Chwefror 8fed, 1909.

Anwyl Syr,—Y mae yn bleser mawr genyf ysgrifenu attoch i adael i chwi gael gwybod fy mhrofiad o Nova Scotia. Yn Ebrill diweddaf y gadewais "Auld Scotia" gyda'm gwraig a'm plentyn, ac ni fu yn edifar gennym y diwrnod y glaniasom yn Halifax, lle y derbyniasom gymaint caredigrwydd gan yr holl swyddogion ymfudol.

Am y saith mis cyntaf bum yn gweithio ar fferm ffrwythau yn King's County, dysgu cymaint ag a allwn am amaethu afalau. Er y pryd hwnw yr wyf wedi bod ar fferm fawr sy'n gwneud caws ac ymenyn yn Cumberland County. Ein cyflogau ar y cyntaf oeddynt $18 y mis, yn cynwys bwyd a lletty i ni ein tri. Yr ydym yn awr yn cael $25 y mis.

Y mae yn rhaid i mi ddweyd fod Nova Scotia yn wlad a chyfle mawr, y mae'r hinsawdd yn bobpeth y gellid ei ddymuno, a chawsom ni ddim trafferth i gyfaddasu ein hunain i'r amgylchiadau newyddion. Yr wyf yn fawr gynghori y rhai sydd yn bwriadu ymfudo o'r hen wlad i aros yn Nova Scotia, gadawer iddynt gymeryd gwib-daith i fyny Dyffryn Annapolis ac ni feddyliant am fyned yn mhellach i'r gorllewin. Y mae yma ddigonedd o waith i'r rhai hyny sydd yn foddlon gweithio yn galed a chyson. Gadawer i'w harwyddair fod:—"Dyfal-barhad a Llwyddiant."

I amaethwyr yn dyfod allan i Canada, gyda chyfalaf cymedrol, Nova Scotia ydyw y lle iddynt. Amaethu cymysg a dal oreu; tymhor yn Ngholeg Amaethyddol Truro, neu gyflogi ag amaethwr am amser byr, a fyddant o fantais fawr i'r newydd-ddyfodiad i ddysgu gwahanol ddulliau y wlad newydd.

Y mae yn fy mwriad i gael fferm yn eiddo fy hunan yn fuan, ac nid wyf yn meddwl y gallaf gael gwell lle i gartref cysurus na "gwlad Evangeline" neu'r byd-enwog Ddyffryn Annapolis.

Yr eiddoch yn bur,

JAMES WILLIAM McCOWAN.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—"Gyda y C.P.R."**

## Y MAE YN HOFFI NEW BRUNSWICK.

St. Mary's, New Brunswick,
Chwefror 18fed, 1909

Anwyl Syr,—Daeth i fy meddwl y buasech yn hoffi cael clywed oddiwrth Sais a brynodd fferm yn New Brunswick bum' mlynedd yn ol, ac sydd yn falch ei fod wedi dyfod yn drigianydd o'r dalaeth hon.

Er nad wyf yn abl i ymffrostio mewn ffortiwn yn yr adeg byr yr ydwyf wedi bod yma, eto yr ydym bob amser wedi bod yn abl i gyfarfod ein holl ofynion, ac ar yr un pryd fyw yn gysurus a mwynhau bywyd, serch fy mod yn talu cyflog am help ar hyd y flwyddyn.

Yn Mehefin, 1903, cafwyd fi a'm gwraig a'm teulu wedi glanio yn Rimouski, ar y ffordd i St. John, N.B.

Ar ol aros yno ddwy wythnos i edrych o amgylch, cytunais i brynu y fferm yr wyf yn awr yn ei pherchenogi, yn sefyll yn nyffryn yr Afon St. John, milldir o ddinas Fredericton a'r hon yr ydym yn gyssylltiedig trwy gyfrwng pont ffordd-fawr, ac hyd yn hyn nid ydwyf wedi cael achos i edifarhau fy newisiad o le, cymydogion da, agosrwydd at ysgolion, eglwysi, marchnadoedd a chludiad gan reilffordd neu afon. Buasai yn anhawdd dychmygu am gartref mwy dedwydd, y mae genym dir da ac yr ydym yn gallu tyfu bob math o gynyrch, a phob blwyddyn yn cael y derbyniadau yn gwella. Byddwn yn gwerthu ein llaeth ddwywaith yn y dydd i faeliwr yn y ddinas, a tyfu bob math o lysiau (*vegetables*) i ba rai y mae gwerthiant buan. Y mae genym hefyd berllan afalau fawr, ac y mae tyfu ffrwythau yn Nyffryn St. John yn dyfod i'r ffrynt yn y dalaeth hon a gwna gynyg teg i ddod i fyny mewn amser, os nad i ragori, ar yr enwog Annapolis Valley a Nova Scotia. Yr ydym hefyd yn tyfu pytatws a maip (erfin) yn o helaeth, i ba rai y cawn werthiant buan i farchnadoedd Gorllewinol ac Americanaidd am brisiau da, ac hefyd gwair a chnydau grawn o bob math.

Y mae'r dalaeth hon yn apelio yn llawer mwy grymus attaf nag a wna unrhyw ran arall o Canada, ac am gymdeithasgarwch y mae yn mhell ar y blaen i'r Hen Wlad, tra mae amaethu rywbeth yn debyg.

Y mae'r hinsawdd yn sych ac iachus, ac nid ydym erioed wedi mwynhau gwell iechyd nag ydym er pan ddaethom allan yma. Yn fwy neillduol dylai y dalaeth hon appelio at yr amaethwr yn Lloegr sydd a meibion ganddo i'w gynorthwyo, yn gymaint na fyddai raid iddo dalu i neb, a byddai yr arian a enillent yn eiddo iddynt, tra yn y gauaf y mae yna ddigon o waith ac arian yn y

---



CHWILIO AM GARTREFLEOEDD YN ALBERTA.

coedwigoedd. Y mae prisiau yn dda am bob math o gynyrch, a gellir prynu ffermydd am brisiau isel, er fod y gwerth yn cynyddu mewn llawer ardal, a phe y gallech ond dyddori y dosbarth mwyaf addas o ymsefydlwyr, credaf fod yna lawn cystal rhagolwg iddynt yn y dalaeth hon, yn nes gartref ac yn fwy fel cartref, ag sydd (gyda mwy o galedi) yn y Gorllewin.

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

(Arwyddwyd) A. BOWDER.

## DYLAI GWEISION FFERMYDD SEISNIG LWYDDO YN Y TREFI DWYREINIOL.

Stanbridge East, Talaeth Quebec.

Anwyl Syr,—Deuthum i'r wlad hon o Loegr yn 1870, o le o'r enw Bloxham, yn agos i Banbury, Swydd Rhydychen.

Deuthum pan yn hogyn 16 oed, gyda un doler yn unig yn fy llogell, ac euthum i lafurio ar fferm am nifer o flynyddoedd, a chefais allan fod yna ddigon o gynygion i gyflogi ar ffermydd. Yr wyf, trwy weithio cyson, wedi cynilo a chasglu dipyn o eiddo. Er budd i unrhyw un sydd yn meddwl am ddyfod i'r wlad hon ac sydd wedi ei ddwyn i fyny i waith fferm yn Lloegr, credaf fod y Trefi Dwyreiniol, Talaeth Quebec, yn rhan dda i ddod iddo.

Y mae yma gyfle i ddynion ag ychydig gyfalaf i gario yn mlaen ffermydd drwy gyfranogi, a gwaith bob amser i ddynion ieuainc dianwadal a gonest, ac yn foddlawn dysgu gwaith a ffyrdd y wlad hon.

Yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) THOMAS HOLLOWAY.

## Y MAE GAN Y RHAI HYNY A GYMHWYSANT EU HUNAIN I AMGYLCHIADAU NEWYDDION BOB CYFLE I LWYDDO.

Eglington P.O., North Toronto, Ontario.

Syr,—Yr wyf yn foddlawn ar Canada fel lle i ymsefydlu. Deuthum o Reading, Berkshire, yn Ebrill y flwyddyn hon, ac yr wyf wedi bod mewn gwaith cyson er hyny, hyd nes i mi gael fy attal drwy ddiffyg gwaith. Fy syniad cyffredin am y wlad hon ydyw mai ofer i ddyn diog ddod yma, a rhaid i chwi fod yn abl i droi eich llaw at rywbeth ac nid glynu wrth un math o waith yn unig. Peth arall a'm tarawodd oedd, fod yn rhaid i chwi cyn gynted ag y cyrhaeddwch Canada adael llonydd i ddull yr Hen Wlad o wneud gwaith a gwneud fel y dymuna'r Canucks iddo gael ei wneud.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

Hefyd, y mae yn ddiamheuol yn wlad y merched am waith, ac y mae gan wr a gwraig a phlant benywaidd gyfle rhagorol i wneud bywoliaeth dda.

Yn olaf, yr wyf yn ystyried fod gan y dyn hylaw sydd yn meddwl gweithio ac a wna ei hun yn atebol i ffyrdd a moddion Canada bob lle i lwyddo.

Yr eiddoch yn barchus,

(Arwyddwyd) W. PAITSON.

Kenton P.O., Manitoba, Canada,
Gorphenaf 3ydd, 1909.

Anwyl Syr,—Yr wyf yn awr yn cymeryd yr hyfrydwch o ysgrifenu ychydig linellau i ddweyd wrthych ein bod wedi cyrhaedd yn ddiogel. Wel, y mae yn rhaid i mi ddweyd wrthych y mae yn wlad ardderchog allan yma yn Manitoba, yr wyf yn ei hoffi yn fwy na Lloegr, ac yr wyf wedi cael lle da yn ol 45 o ddoleri (£9) y mis, a thy i fyw ynddo, ac y mae pawb yn dweyd fy mod wedi gwneud yn dda i gychwyn. Dywedir eich bod yn dod allan i Canada i weithio yn galed, ond dywedaf wrthych nad ydynt yn gweithio mor galed yma ag y gwnant yn Lloegr. 'Does yr un arf a weithiant yma ar nad oes sedd arno i farchogaeth, felly ni allant alw marchogaeth drwy y dydd yn waith caled. Os oes yna unrhyw ddynion ieuainc yn meddwl dod allan gellwch ddweyd wrthynt nad oes raid iddynt ofni y bydd yn rhaid iddynt weithio yn galed, ac eu bod yn talu arian da i ddynion da. Buaswn yn gallu cael ugain o leoedd pan ddeuthum allan, y mae'r amaethwyr yn heidio ar eich holau fel gwenyn o amgylch y cwch. Rhaid i mi ddweyd wrthych eu bod yn ymddangos yn ddosbarth gwahanol o bobl allan yma i'r hyn sydd yn Lloegr, fe wnant yr hyn allent i gynorthwyo dyn i ddod yn mlaen os y gwna gynyg.

Wel, yr wyf yn meddwl fy mod wedi dweyd yr oll wrthych am y tro hwn. Ysgrifenaf eto attoch pan y byddaf wedi cael ychydig mwy o brofiad.

Oddiwrth, yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) E. SMALLEY.

Victoria, British Columbia,
Medi 14eg, 1909.

Anwyl Syr,—Yr wyf yn gweled eich bod yn gwneud gwaith da, ac fe fydd yn foddhad i chwi wybod eich bod yn cynorthwyo eich cyd-ddinaswyr i wella eu sefyllfaoedd, ac yn ddiau gryfhau yr Ymherodraeth.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—
"Gyda y C.P.R."**



FFERM FFRWYTHAU YN BRITISH COLUMBIA.

'Does genym ddim i'w wneud a'r Unol Dalaethau, ac nid ydym yn bwriadu, ond yn unig i gael arian allan o honynt.

Nid oes arnom eisieu dynion gwir etifeddiaeth yn y mater. Byddwn yn cael y tir oddiwrth y Llywodraeth yn uniongyrchol i bob ymsefydlwr. Mae'n well genyf fi deuluoedd yn dyroedd (*groups*)—nid yw dynion ieuainc yn ymfudwyr da, dylamant o gwmpas, ac ni arosant ar y tir, na gwneud cartref. Ant drosodd i'r ochr Americanaidd, a chant eu llyncu i fyny yn y bywyd chwai (*fast*), a deuant yn ol yn fwy trist, os nad yn ddoethach, os na chant eu saethu. Nid yw dynion di-briod o werth i unrhyw wlad—y maent bob amser yn grwgnach, a bywiant mewn cabanau neu "shacks." Yn lle mae dynes fe welwch y gwahaniaeth yn y ty a'r amgylchoedd, ac fe wnant hwy gartref.

Rhyw dair punt oedd genyf yn fy mhoced pan y glaniais yn Montreal. Nid oeddwn yn adwaen neb yn y wlad, nac yn gwybod dim am dani, ac yn dueddol i fod yn yswil, ac nis gallaf ei daflu i ffwrdd am amser hir ymysg dieithriaid. Ond nid wyf byth yn eu hofni.

Mae'r amserau wedi newid. Nid oes angen myned oddiyma'n awr—y mae'r gwaith yn ymadael oddiyno ac yn dyfod yma. Nid oes ganddynt ond ffrwythau i lawr yno—dim glo na mwnau. Y mae yn rhaid dod a phobpeth i mewn iddo, felly fe saethwn heibio iddynt ym mhobpeth ond yr hyn a adwaenir fel ffrwythau citron—aur-afalau, lemons, ffigys, a grapes. Yr ydym ni yn rhagori arnynt mewn afalau, mefus, gellaig, eiryn, surain (*cherries*), &c. Y mae'r hinsawdd yn gyfaddas i ffrwythau, ac y mae'r mwnau genym ni, ac yr ydym yn foddlon i rannu ein manteision gyda'u pobl.

Y mae yna gyfran i bawb. Gadewch iddynt baratoi ar gyfer y gwanwyn nesaf, a gadael diwedd Chwefror, a myned yn syth yn y blaen.

(Arwyddwyd) "MANCUNIAN."

---

## CYMRO YN MYNED I CANADA AR ANTUR.

Bradford, Ont., Ionawr 20fed, 1909.

Mr. W. D. Scott.

Anwyl Syr,—Deuthum o Gymru tua deuddeng mis yn ol, ar antur, i weled y gwahaniaeth yn amaethu Canada a Lloegr, a llafur amaethyddol a chyflogau yn gyffredinol. Yr wyf yn meddwl fod hon yn wlad fawr i'r gweithiwr canolig nad yw yn ofni gwaith.

Y mae cyflwr y ddaiar a'r borfa tuhwnt i'm disgwyliadau, y pridd yn gyfoethog a hawdd ei weithio yn ei gwneud yn bosibl i dyfu cnydau da o rawn a gwreiddiau; yn wir, cnydau da llawer

mwy nag a welais erioed yn yr hen wlad. Yr hyn sydd yn dangos fod amaethu yn Canada yn llwyddiant mawr i'r dyn ddymuna anturio; ac am yr ymfudwyr o'r dosbarth iawn, y mae pob cyfle iddynt hwy, drwy Oruchwylwyr y Llywodraeth, y rhai yn ewyllysgar a'u rhoddant mewn lleoedd o'r fantais oreu am gyflog, &c., fel y gwn i'ch goruchwyliwr lleol wneud mewn ugeiniau o achosion.

Y mae'r cyflogau yn llawer uwch na'r hyn delir gan amaethwyr gartref, er engraifft, y mae'r dyn ag ychydig neu ddim gwybodaeth yn abl i gael o $15 i $18 y mis, a'r dyn profiadol $25 i $28 y mis a bwyd a lletty. Wrth yr holl rai sydd yn bwriadu ymfudo, dywedaf gwnewch hi am Canada, gwlad y breintiau a chartref y dyfodol.

(Arwyddwyd) E. LEWIS,
Gynt o Sir Gaernarfon, Gogledd Cymru.

## CYMRO BODDLAWN.

Lurgan, Ontario, Medi 9fed, 1909.

Syr,—Yr wyf yn ysgrifenu yr ychydig linellau hyn attoch i'ch hysbysu fy mod wedi cyrhaedd yma yn ddiogel, ac wedi bod yn ffodus. Yr wyf wedi dyfod i le iachus, y mae pob peth yn brydferth, a gwelaf bobl caredig iawn o'm cwmpas. Yr wyf yn anfon hwn i adael i chwi gael gwybod ei bod yn llawer iawn gwell allan yma nag y gall dyn ddweyd. Gobeithiaf y cewch lawer o Gymru i ddod.

Yr eiddoch yn bur,
(Arwyddwyd) JOHN REES.

## GWAITH FFARMIO I BAWB.

Ripley, Ontario.

Anwyl Syr,—Ar ol llawer o anfanteision yr ydym wedi cyrhaedd yn ddiogel. Cefais waith ar fferm yr un diwrnod, ond tri diwrnod ar ol hyny cefais le fel gwneuthurwr caws mewn ffatri, yn mha un yr wyf yn awr yn nesaf i'r uwchaf, ac yn feistr arnaf fy hunan, a'r oll o fewn wythnos! Cofiwch ddweyd wrth bawb fod yma ddigonedd o waith o bob math.

Yr eiddoch yn bur,
(Arwyddwyd) R. J. KIDD
(O Gymru)

---

Ceris, Bangor, Hydref 12fed, 1909.

Anwyl Syr,—Mewn atebiad i'r eiddoch, yr 11eg cyfisol, y mae yn ddrwg genyf ddweyd yr oeddwn am amser mor fyr yn British Columbia, a chymaint o'r wlad i'w thramwy, ni chefais gyfle i fyned i fanylion gweithiad y rhydd-dir (*land grants*).

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

Yr wyf yn sicr nad oes le tebyg iddo i ddynion ieuainc a chyfalaf o £200 neu £300 i'w cynorthwyo i roddi i fyny dy, &c.

Wrth gwrs, fe delir am lafur yn ardderchog yn yr haf, ond nis gwn am y gauaf.

Yr wyf yn myned allan eto, gobeithiaf, yr haf nesaf gyda mwy o amser at fy ngalwad, a byddaf wedyn yn abl i ffurfio gwell barn.

Yr eiddoch yn ffyddlawn.
(Arwyddwyd) JOHN J. DAVIES

---

14, Deer Park, Tenby, Sir Benfro,
Hydref 18fed, 1909.

Anwyl Syr,—Wedi dychwelyd o Canada credaf ei bod yn iawn i mi ddiolch i chwi am yr hysbysrwydd caredig a roisoch i mi cyn gadael Tenby. Cefais ef yn ddefnyddiol.

Yr oedd y daith ar y mor yn fwynhad mawr; hwyliais i Montreal, yr oedd y golygfeydd i fyny yr Afon St. Lawrence yn bardd iawn. Arhosais dri diwrnod yn Montreal—dinas ardderchog.

Fy arhosiad nesaf oedd yn Winnipeg; yma yr oedd yna "Exhibition," Arddangosfa Geffylau, a Rhedegfeydd, felly cymerais y mantais i weled yr oll. Torais y siwrne nesaf yn Medicine Hat. Yr wyf yn hoffi y dref hon, y mae ei sefyllfa yn dlws ar yr Afon Saskatchewan; y mae ganddi un atdyniad mawr—mewn bod yn feddianol ar nwy naturiol (*natural gas*). Y mae y dref yn cael ei chynhesu a'i goleuo ganddo, ac y mae yn cael ei werthu at bob pwrpas am 6½c. y fil o droedfeddi. Aethum dros Waith y "Canadian Pacific Railway," lle y gwnant yr oll o'r adgyweirio, &c. Dywedodd un o'r peirianwyr wrthyf eu bod yn cynilo 60,000 o ddoleri y flwyddyn drwy arfer y nwy.

Y lle nesaf i mi aros oedd Regina, yr hon a dybir y bydd yn fuan yn ddinas fawr,—un amaethyddol ydyw yr ardal.

Yn nesaf—Calgary; sydd yn awr yn lle ffashiynol. Y mae wedi dyblu ei phoblogaeth er pan yr oeddwn yno bum' mlynedd yn ol, ac y mae yn awr yn ardal fawr tyfu gwenith.

Ar ol gadael Calgary, aethum i aros gyda'm mab, yr hwn sydd newydd brynu haid-amaethdy elwir Spencer Creek Ranch, gydag adeiladau a chyflenwad da o ddwfr (800 o aceri) yr oll am 4,000 o ddoleri. Yr wyf yn ei ystyried yn fargen. Y mae tua 80 milldir yr ochr yma i'r Rocky Mountains, ac yn ddiamheuol fe wna ei gartref yno.

Yr hyn a fwynheais fwyaf oedd y pysgotta rhagorol yn yr Afon Bow a'r Creeks. Y mae Canada yn wlad fawr, gan ei bod mor eang. Yr wyf yn edrych yn mlaen i glywed am lawer o ddargan-

---

fyddiadau newyddion, gan ei bod mor gyfoethog yn mhob math o fwnau bron.

Gresyn nad yw adnoddau a manteision mawrion y wlad yn cael eu sylweddoli gan ffermwyr, llafurwyr, a merched gweini y wlad hon, ac hefyd masnachwyr sydd yn feddianol ar yni.

Yr wyf yn ystyried ei fod yn cynyg agoriadau ardderchog i law-weithwyr, gan fod gan bawb ei gyfle yn Canada i wneud cartref cysurus o'i eiddo ei hun a pherchenogi tir mewn byr amser.

Yma yn Lloegr a Chymru y mae genym lawer o weithwyr caled, y rhai sydd ganddynt ddigonedd o wybodaeth, ond ni chant y cyfle i'w ddadblygu yn ystod eu bywyd, tra y mae yn Canada ddigon o gyfleusterau.

Yr wyf yn meddwl y buasai personau sydd yn ceisio gwaith yn Canada yn gwneud yn ddoeth i fod yn barod gyda lle cyn gadael, hefyd ffermwyr a llafurwyr a gymhellir i gael gwaith ar fferm cyn cartrefu neu brynu tir, gan y gallent wedyn ddethol llead da.

Wel, Mr. Griffiths, fy marn i am Canada yw, 'does ond dau beth yn eisieu gyda gwybodaeth briodol i'w gweinyddu, sef :—Cyfalaf a Llafur, wedyn bydd y WLAD FWYAF YN Y BYD.

Yr wyf yn priodoli rheswm llawer o'n dynion ieuainc anturiaethus yn peidio myned i Canada i'r ffaith nad ydynt yn cael cefnogaeth eu rhieni, ond cedwir hwynt gartref gan hired ag y gallant, a phan bydd arnynt eisieu sefydlu mewn bywyd ar fferm, nid ydynt mewn sefyllfa i'w chyflenwi iddynt—mewn llawer enghreifftiau ddim cystal allan a'r llafurwr.

Am hyny yr wyf yn cymeradwyo pob ffarmwr a llafurwr sydd a graen ynddynt i ymfudo i Canada. Y mae'r hinsawdd yn dda, a chynygia fanteision nad ellir byth eu cael yn y wlad hon.

Y mae yr amser wedi dod pan na ddylai pawb fod wedi ei rwymo wrth linyn arffedog ei fam, ond ymdeithio a gweld y BYD gyda'r moddion hwylus a roddir yn awr.

Yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) WM. LEWIS.

---

Virden, Manitoba.

Anwyl Syr,—Gair neu ddau i adael i chwi gael gwybod sut yr wyf yn dyfod yn mlaen er pan ddeuthum allan i Virden yn y gwanwyn. Yr wyf yn hoffi Canada yn fawr, ac nis gallaf ysgrifenu yn rhy uchel am y bobl yn y rhanbarth, y maent oll mor garedig i ni ddieithriaid. Mae yna bymtheg o'r genethod ddaethant allan ar fwrdd y "Corinthian" o gwmpas Virden, ac y maent oll yn ei hoffi yn fawr. Y mae Virden yn lle bach tlws a glan, ac ystyrir pob dyn a dynes yn gyfartal.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—**
**"Gyda y C.P.R."**

Yr hyn sydd arnaf eisieu ei ddweyd wrthych yn fwyaf neillduol ydyw am y modd yr ymddygwyd attaf yn ddiweddar pan oeddwn yn wael. Yr oeddwn mewn lle a chefais glefyd y *Typhoid*, ac nid wyf yn gwybod pwy oedd y mwyaf caredig wrthyf. Fe'm hanfonwyd i ysbytty yn Brandon gan Gymdeithas St. Andrew, Virden, a chawsant "ward" haner-preifat i mi; a phan ddeuthum yn well fe dalwyd ganddynt dreuliau yr ysbytty a'r meddyg, a thalodd y Llywodraeth y gweddill, fel nad oeddwn ddimai allan o'm mhoced. Yr oedd bron yn dda i fod yn wael er mwyn gweled pobl mor garedig, er na wna y meddyg oddef ymwelwyr, anfonodd boneddigesau Brandon y blodau prydferthaf i mi, ac yr oedd rhyw un yn "telephonio" ac yn gwneud ymholiad agos bob dydd am danaf. Yr wyf yn awr yn holl-iach ac yn abl i weithio.

Y mae yma lawer mwy o bobl eisieu help nag sydd o enethod ar eu cyfer. Buaswn yn hoffi yn fawr i'm dwy chwaer ddod yn y gwanwyn. Y mae tair o enethod Edinburgh a ddaethant allan gyda mi yn Brandon. Cefais fy nghelfi (*baggage*) i gyd yn iawn, a chawsom daith hyfryd allan. Yr wyf wedi bod yn hir yn ysgrifenu i ddweyd wrthych sut yr ydwyf yn dod yn mlaen, ond y mae amser yn myned heibio mor gyflym. Credwch fi,

Yr eiddoch yn bur,

(Arwyddwyd) ANNIE CAMERON.

O berthynas i'r rhagolygon sydd yn aros merched ieuainc galluog sydd yn foddlon i gymeryd gwasanaeth teuluaidd yn Canada, y mae y ddau ddyfyniad a ganlyn o lythyrau anfonwyd i'r "British Women's Emigration Association," Llundain, gan ferched trwyadl Seisnig, yn rhoddi'r safle yn deg iawn. Ysgrifena y gyntaf o Toronto:—"Yr wyf yn meddwl, ar ol y dyddordeb caredig a gymerasoch, fod yn rhaid i mi ysgrifenu a dweyd wrthych sut yr wyf wedi sefydlu. Yr wyf yn cael ymddwyn attaf fel un o'r teulu, ac y mae Mrs. M. mor ddymunol a charedig. Y mae ganddi ddau fab mewn busnes y rhai ni ddeuant adref ond yn y nos, felly mae Mrs. M. a minnau ein hunain ar hyd y dydd. Ymddengys ein bod yn llawn ddigon o gwmpeini i'n gilydd, a phan y gwna hi y coginio a phrysuro o gwmpas gwnaf finnau waith y ty. Yr oll a wnaf cyn brecwast ydyw ysgubo y "Verandah," un mor dlws gyda *clematis* yn tyfu ar hyd-ddo, a chynorthwyo gyda'r brecwast ar ol hyny. Gwnaf waith y ty a golchi ysgafn hyd ginio, ac wedyn, pan fydd cinio drosodd, byddaf yn golchi y llestri, a thacluso'r gegin, a chael badd (*bath*) a gwisgo am danaf. Bydd Mrs. M. a minnau yn settlo i wnio ac ysgrifenu un ai yn y "Verandah" neu yn y ty hyd 6, pan y byddwn yn paratoi y swper, yr hwn sydd am 6.30. Ar ol i mi olchi y llestri nid oes dim rhagor i'w



FFERM CAWS AC YMENYN YN NOVA SCOTIA.

wneud. Diolch yn fawr iawn i chwi am yr oll a wnaethoch i'm cynorthwyo i gael allan yma, ac nid wyf yn edifarhau yn y radd leiaf am y cam a gymerais. Buaswn yn caru aros yma bob amser." Daw yr ail lythyr o Ottawa a dywed :—" Daethum allan yma gyda'ch parti chwi y 3ydd o Hydref diweddaf, a chefais le dymunol iawn, lle yr wyf yn bresenol. Y mae arnaf eisieu myned i Vancouver at gyfeillion yr haf hwn, felly byddaf yn gadael yn fuan. Dymunaf ddweyd ei fod yn gartref cysurus a digon o ryddid. Yr wyf yn hoffi Canada yn fawr, buasai yn dda genyf fod wedi dyfod allan yn gynt. Y mae'r gauaf wedi bod y goreu a brofais erioed—llawer mwy dymunol na Llundain a'i gaddug. Y mae Ottawa yn dyner iawn, felly os ydych yn gwybod am ferch sydd yn dyfod yma cynghorwch hi nid yn unig i ddod a chôt skert dew ar gyfer y gauaf, ond gwisgoedd cotwm oeraidd ar gyfer yr haf. Y mae yn lle prydferth ac yr wyf mewn gwirionedd wedi mwynhau fy arhosiad yma."

## CYNGHORION I RAI SYDD YN BWRIADU YMSEFYDLU.

Gan yr ymgynghorir yn helaeth a'r pamphledyn hwn gan y rhai sydd yn dymuno, oblegid rhyw achos neu gilydd, gadael Cymru a chwilio am gartrefi newyddion, byddai yn dda rhoddi rhai manylion ynghylch y dosbarthiadau a gymeradwyir i fyned i Canada, a'r agoriadau sydd yn bodoli iddynt.

## RHAI YN BWRIADU AMAETHU.

Mae personau ag ychydig gyfalaf ac heb gydnabyddiaeth ag amaethu yn aml yn awyddus i gychwyn yn y cyfeiriad hwnw.

Cyn gwneud hyn, dylid cael profiad lleol un ai trwy gyflogi fel llafurwr, neu mewn rhyw ffordd arall. Yna, pan y bydd y wybodaeth angenrheidiol wedi ei chael, gellir un ai rhentu fferm, gweithio ar y drefn gyfranogol, prynu, neu gymeryd i fyny gartrefle fel rhydd-rodd.

O berthynas i SWM Y CYFALAF SYDD YN ANGENRHEIDIOL I DDECHREU AMAETHU, dibyna ar yni, profiad, barn ac anturiaeth y person sydd i wario yr arian, y dalaeth ddewisir, pa un ai rhydd-rodd o dir a gymerir ynte prynu neu rentio fferm wedi ei gwella, a llawer o fanylion eraill. Gellir yn ddiogel ddweyd, fodd bynag, fod y dyn a chanddo yn agos i £100 yn glir yn glanio, mewn sefyllfa i wneud cychwyniad go dda ar dir rydd-roddir yn Manitoba, Saskatchewan ac Alberta. Mae miloedd o ddynion sydd yn awr yn llwyddianus wedi dechreu bywyd ar y peithdiroedd gyda llai na hyny o ddoleri. Gwnaethant eu ffordd fel dynion cyflogedig.

yn amser hadu a medi, tra yn ystod misoedd hynach y flwyddyn gwnaethant y gwaith angenrheidiol ar y cartrefle rhydd.

## AMAETHWYR YN DAL TIR.

I amaethwyr fydd yn dal tir y mae'r Drefedigaeth yn cynyg llawer o fanteision. Y mae'r ffermydd sydd wedi eu gwella yn rhad; gellir cael rhydd-roddion gan y rhai hyny sydd yn barod i anghyfleusderau bywyd dechreuol; y mae'r tir yn ffrwythlawn, y mae'r hinsawdd yn sicrhau tyfiant pob cnwd a gynyrchir yn Mhrydain Fawr, tra mae grawnwin, eirynj gwlanog (*peaches*), *tomatoes*, a ffrwythau tebyg yn tyfu ac yn addfedu mewn rhai o'r talaethau yn yr awyr agored. Y mae yna farchnad fawr a chynhyddol yn Canada ac yn y fam wlad i bob grawn, da byw, a chynyrch cyffredinol fferm a llaethdy y gellir eu hebgor. Ar y llaw arall, y mae'r trethi yn ysgafn, a pheirianau sydd yn lleihau llafur yn rhad ac mewn arferiad cyffredinol.

## LLAFUR AMAETHYDDOL.

Y mae yna alwad mwyaf bywiog ag sydd yn gyson ymeangu am lafurwyr yn mhob rhan o'r Drefedigaeth, oblegid y cyflymder a pha un y deuir a'r tir o dan driniaeth. Y mae cyflogi am flwyddyn yn awr yn gyffredinol, gan fod y ffermwyr yn dewis sicrhau eu hunain yn y ffordd yma yn erbyn prinder llafur yn ystod y tymhorau prysur. Y mae gan filoedd o bersonau o'r dosbarth hwn, y rhai a ddechreuasant fel llafurwyr, ffermydd o'u heiddo eu hunain yn y rhannau goreu o'r Drefedigaeth fel canlyniad. Cyflogau: $100 i $300 y flwyddyn, ynghyda bwyd a lletty.

GARDDWYR MARCHNADOL, GARDDWYR, a PHERSONAU SYDD YN GWYBOD SUT I OFALU AM GEFFYLAU, GWARTHEG A DEFAID, ydynt hefyd yn rhai a gynghorir i fyned allan. Ond 'does dim agoriad i ORUCHWYLWYR NEU HAFODWYR FFERM (*Farm Bailiffs*). Y mae ffermwyr Canada, fel rheol, yn arolygu eu daliadau eu hunain ac yn cymeryd rhan personol yn y gwaith.

## DYNION IEUAINC SY'N DYMUNO PROFIAD AMAETHYDDOL.

Dynion ieuainc cryf a heinyf, o 18 mlwydd oed, sydd yn barod i dderbyn am dymhor waith ac amgylchiadau mwy neu lai anwahanol oddiwrth fywyd llafurwr amaethyddol—a dyma'r unig ffordd i feddianu y profiad goreu—ni chant ddim anhawsder mewn cael lle ar ffermydd yn y gwanwyn ac mewn gwneud trefniadau am

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—
"Gyda y C.P.R."**



MEDI YN YMYL BRANDON, MANITOBA.



AFALAU MEWN DIGONEDD YN NOVA SCOTIA.

flwyddyn o waith. Gwna GORUCHWYLWYR LLYWODRAETH CANADA eu CYNORTHWYO I WNEUD HYNY YN DDIDRAUL. Er, yn niffyg profiad, y cânt gyflog bychan ynghyda bwyd a llety, am eu gwaith yn NECHREU EU GWASANAETH, ond fel y bydd eu medr yn cynyddu gallant ofyn am y cyflogau delir i bawb. Gellir felly gynilo yr arian a enillir, ac mewn dwy neu dair blynedd dylai gyrhaedd swm a'i galluogai i gychwyn ei hun ar ei dir rhydd-roddedig, neu i weithio ar fferm wedi eu gwella ar y drefn o gyfranogiad.

## GWASANAETH TEULUAIDD A GALWADAU ERAILL I FERCHED.

Yn mhob dinas, tref, a phentref, gall merched gweini yn hawdd gael lle bob amser. Y mae'r cyflogau yn dda, ac nid yw telerau gwasanaeth yn flinderus, a sicrheir cartrefi cysurus. Dylai merched gweini fyned ar unwaith, pan y cyrhaeddant, at Gynrychiolwyr y Llywodraeth. Y mae gan y swyddogion hyn, yn aml, yn eu swyddfeydd restr o leoedd gweigion, a chyfeiriant yr un fydd yn ceisio at bwyllgor y boneddigesau lleol fel y caffont y fantais o'r arolygiad o'r fath ac arweiniad hyd nes y cant le boddhaol. Dylai morwynion, fodd bynag, fyned a'u cred-lythyrau gyda hwy, a chadw mewn cof fod tystiolaethau da yn anhebgorol yn Canada. Gallant yn ddiogel fyned allan unrhyw amser o'r flwyddyn, a bod yn sicr o gael lle yn ddiaros. Yn y trefi dwyreiniol o Quebec, yn Ontario, Manitoba, Saskatchewan, Alberta a British Columbia, fe delir cyflogau da. Yn ychwanegol at waith arferol y ty y mae yn rhaid cynorthwyo mewn gwneud ymenyn i'r rhai fydd yn dymuno myned i'r ffermydd. Cyflogau; $100 i $175 y flwyddyn.

Ni ddylai rhai sydd yn hyfforddi plant (*governesses*), cynorthwywyr mewn siopau, mamaethod, &c., fyned allan os na gynghorir hwynt yn neillduol neu yn bwriadu ymuno a ffryndiau, y rhai fydd yn abl i'w cynorthwyo i gael gwaith.

## SWYDDOGION Y LLYWODRAETH.

Y cynghor cyffredinol cyntaf i'w roddi i'r un sydd yn bwriadu ymsefydlu, cyn iddo gychwyn, neu ar ol cyrhaedd Canada, ydyw am iddo wneud cais at y goruchwyliwr agosaf y Llywodraeth am unrhyw wybodaeth neu gynghorion a ddymunir eu cael. Gellir dibynu ar unrhyw beth ddywed Goruchwylwyr y Llywodraeth.

Y mae gan yr Adran Ymfudol Oruchwyliaethau a Neuaddau cyffredinol tuag at lettya ymfudwyr yn rhydd yn mhob prif rannau yn y wlad.

---

**Gofalwch fod eich tocyn ar y Reilffordd yn darllen—
"Gyda y C.P.R."**

## SWYDDFEYDD GWEITHIOL.

### (Employment Bureaus).

Y mae Llywodraeth y Drefedigaeth yn cynhal Swyddfeydd Hysbysu ynglyn a gwaith yn mhrif rannau Canada. Yr amcan neillduol anelir ato ydyw rhwyddhau cyd-ymddiddan rhwng personau sydd angen gwaith a phersonau sydd angen eu gwasanaeth. Ni chodir tal ar y meistradoedd na'r rhai fydd yn chwilio am waith.

Cynwysa y deddfau a basiwyd gan Senedd Canada ddarpariadau llym er noddi ymfudwyr, ac er cospi yn drwm bob cynyg i ymarfer twyll tuag attynt.

## YR AMSER I YMFUDO.

A siarad yn gyffredinol, yr amser goreu i ymfudo, i bob dosbarth, ydyw y gwanwyn cynar. Fe ga y llafurwr amaethyddol fod ei wasanaeth mewn galw yn yr amser prysur sydd bob amser yn dod yn amser hau yn Canada ; ac fe gyrhaedda yr amaethwr sydd yn bwriadu cymeryd tir i fyny iddo ei hun, yn nechreuad gwaith y tymhor. Gall yr amaethwr a â i Manitoba, trwy gael i mewn gnwd o geirch neu bytatws yn ystod mis Mai neu yr wythnos gyntaf yn Mehefin, gyfranu yn helaeth tuag at gynal ei hun a'i deulu yn ystod y flwyddyn gyntaf. Neu, os y cyrhaedda y llafurwr amaethyddol yn yr haf, tua amser cynhauaf, fe ga fod yna ddigon o alwad a chyflogau uchel am ei wasanaeth yn ystod misoedd y cynhauaf ac ni cha unrhyw anhawster mewn dyfod yn mlaen yn dda o'r pwynt hwn.

Y ffarmwr, hefyd, a ddymuna gymeryd tir i fyny, os y daw yn yr haf gall weled y cnydau yn tyfu, a thrwy hyny gael cyfle i ddewis yn hamddenol y lle mwyaf manteisiol. Yn Manitoba, Saskatchewan, ac Alberta, misoedd yr haf a'r hydref ydynt y goreu i symud o gwmpas y wlad i chwilio am dir—neu, fel y'i gelwir yn gyffredin "hela-tir"—fel man cyfaddas i ymsefydlu. Wedi ei ddewis, gall fyned yn mlaen i adeiladu ei dy a gwneud darpariadau ar gyfer byw dros y gauaf ; a thrwy fod yn y fan, gall wneud cychwyniad gyda mantais fawr yn y gwanwyn.

Ni chynghorir neb ond gwasanaethyddion teuluaidd i fyned i Canada yn ystod y gauaf, os na byddant yn myned at gyfeillion, gan nad yw gwaith mor hawdd i'w gael i newydd-ddyfodiaid yn ystod y tymhor hwnw fel amserau eraill o'r flwyddyn.

## PRISIAU CLUDIAD DROS Y MOR.

Gall yr un sydd yn bwriadu ymfudo gael gwybod am ddyddiau hwylio yr agerlongau drwy law-leni neu hysbysiadau a gyhoeddir yn gyffredin ; ac hefyd—trwy yr un cyfrwng—prisiau y daith.

---

Nid yw y Llywodraeth yn cynyg cynorthwyo cludiad unrhyw ddosbarth o Ymfudwyr. Fe ofynir i bawb dalu y prisoedd cyffredin a godir gan gwmniau yr agerlongau, i dalu pris cludiad y rheilffordd o'r porthladd y glaniant ynddo i'r lle y maent yn myned iddo, ac i ddarparu bwyd eu hunain ar y daith. Rhaid fod gan Ymfudwyr, felly, ddigon o arian ar gyfer treuliau felly yn ychwanegol i bris cludiad dros y mor, ac i ddarparu bwyd a llety hyd nes y caffont waith. Mae rhai o'r cwmnioedd rheilffyrdd Prydeinig yn cynyg prisiau gostyngol am gludiad i'r porthladdoedd y cychwynir o honynt i Ymfudwyr i'r Drefedigaeth. Gellir cael hysbysrwydd o'r rhai'n gan oruchwylwyr teithwyr, a *booking-offices* y rheilffordd. Y mae y "Canadian Pacific Railway" yn cynyg prisiau arbenig i ymfudwyr.

Bydd ymholiad yn cael ei wneud yn aml a oes yna ryw drefn mewn gweithrediad drwy ba un y rhoddir arian yn mlaenllaw gan y Llywodraeth at gludiad y dosbarth llafurawl, fel y rhai a gyfeirir attynt yn y pamphledyn hwn, i'w had-dalu ar ol cyrhaedd Canada. Y mae, felly, yn lawn cystal dweyd yn blaen—nac oes.

## BETH I'W GYMERYD.

Dylai'r trefedigion gymeryd cyflenwad da o ddilladau, megis nwyddau gwlanog, plancedi, lliain ty, &c., ond nid defnyddiau a ydynt yn rhy drymion.

Ni ddylai llafurwyr amaethyddol gymeryd unrhyw un o'u peirianau gyda hwy, gan fod y rhai hyn i'w cael yn hawdd yn Canada o'r mathau goreu, ac yn gyfaddas i anghenion y wlad. A siarad yn gyffredinol, ni fuasai nwyddau amaethyddol arferir yn Lloegr yn gymwys i Canada.

Gall peirianwyr a chrefftwyr, pan y byddant wedi eu hanog i fyned allan, gymeryd eu tools, wrth gwrs; ond rhaid iddynt gadw mewn cof nad oes unrhyw anhawster mewn prynu *tools* cyffredin yn Canada am brisiau rhesymol. Fel rheol gyffredin, y mae y *tools* a wneir yn Canada yn ysgafnach ac yn fwy cyfaddas at anghenion y wlad na'r rhai a wneir yn y wlad hon.

## GLUD-LWYTH (Luggage).

Nis gall sylw y trefedigion gael ei gyfeirio yn rhy fanwl at yr annymunoldeb o lwytho eu hunain a phethau dianghenraid fel y rhai hyn, heblaw achosi iddynt lawer o drafferth, gallant yn y pen draw gostio llawer mwy na'u gwerth.

Ar hysbysleni'r agerlong gall yr ymdeithydd ddod o hyd i sawl *cubic feet* o glud-lwyth a gerir yn rhydd ac am ddim ar y bwrdd. Gall ddigwydd, fodd bynag, fod nifer y *cubic feet* y mae cwmni'r

agerlong yn ganiatau yn llawer trymach na'r 150 pwys ganiateir i bob ymdeithydd ar y rheilffyrdd gorllewinol.

Y mae'r rheilffyrdd yn Canada yn haelionus iawn wrth ddelio a chlud-lwythi'r ymfudwyr, a gadawant unrhyw beth sydd heb fod yn mhell allan o'r ffordd i basio. Ar rai rheilffyrdd, fodd bynag, fe bwysir y clud-lwyth, ac y mae unrhyw beth uwchlaw 150 pwys y teithydd yn agored i gael gofyn tâl am dano. Gall teulu neu barti yn myned gyda'u gilydd gael pwyso eu clud-lwythi yn un swm, ac ni ofynir tal onibae fod yna fwy na 150 pwys ar gyfartaledd i bob un. Y mae'r "Canadian Pacific Railway" yn caniatau 300 pwys i bob un mewn oed yn myned i'r gorllewin o Winnipeg, ond nid yn mhellach na Calgary. Mae llawer o'r pethau trymion a gerir weithiau gan drefedigoin nad ydynt werth talu mwy am eu cludo, ag sydd i'w cael yn well a rhatach ar ol cyrhaedd y lle y maent yn myned iddo.

Y mae pob clud-lwyth a boxes trymion yn cael eu cyfleu yn nghest y llong, ond dylai y trefedigwr roddi mewn sypyn bychan ar wahan y pethau y bydd eu hangen arno yn ystod y daith; dylai gymeryd y rhai hyn i'w ystafell (*berth*).

## ARIAN.

Wrth gymeryd arian allan o'r Deyrnas Gyfunol, y mae yn well cael *bill of exchange* neu lythyr credit y banc, i'w gael gan unrhyw arianwr (*banker*), am unrhyw swm mawr, gan y bydd hyny yn gwneud i ffwrdd a'r perygl o'i golli, neu y mae symiau llai yn well i'w cymeryd yn y ffurf o "post office orders" i'r lle y maent yn myned iddo yn Canada. Y mae gan sovran a hanner-sovran bob amser eu gwerth llawn ($4.86 a $2.43), yr hwn sydd wedi ei sefydlu trwy gyfraith. Ar arian—sylltau, dau-sylltau, a hanner-coronau, &c.,—fe gyll yr ymfudwr ryw ychydig wrth eu cyfnewid am arian Canada.

Y mae'r drefn mewn doleri a *cents* mewn arferiad dros yr oll o gyfandir America. Fe ad-chwanegir cymhariad ag arian bathol, yr hyn a alluoga y darllenydd ar unwaith i ddeall, mewn arian bathol, gwerth feddylir mewn doleri a *cents*; a cha yr ymfudydd newydd-lanio ond ychydig iawn o drafferth i feistroli y drefn.

Arian bathol mewn doleri a *cents* :—½c. bathol ydyw 1 *cent*; 1c. bathol ydyw 2 *cents*; 1s. bathol ydyw 24 *cents*; £1 bathol ydyw $4.86.

Doleri a *cents* mewn arian bathol :—1 *cent* ydyw ½c.; 1 doler ydyw 4s. 1½c.; 4 doler ydynt 16s. 5¼c.; 5 doler ydynt 20s. 6½c.

---

## ATEBION I'R CWESTIYNAU CYNTAF A OFYNIR YN GYFFREDIN.

C.—Pa le y caf lanio yn Canada ?

A.—Yn Quebec, rhwng Mai 1af a Thachwedd 20fed. Yn Halifax neu St. John, rhwng Tachwedd 20fed a Mai 1af, neu oddeutu hyny.

C.—Sut y caf wybod beth i'w wneud, neu lle i fyned, pan y gadawaf yr agerlong ?

A.—Fe gwrddir a chwi gan Swyddog y Llywodraeth, yr hwn a rydd bob gwybodaeth a ddymunwch, a chynghora chwi, os y dymunwch gael eich cynghori. Fe'ch cymerir yn uniongyrchol i Neuadd Ymfudol y Llywodraeth, lle y cewch aros yn ddidraul hyd nes daw amser eich tren i gychwyn. Yno gallwch brynu eich tocyn (os nad ydych wedi gwneud hyny yn barod), neu gyfnewid eich archeb am docyn i unrhyw ran o Canada, gallwch newid eich arian Prydeinig i arian Canada, a gallwch brynu unrhyw nwyddau a fydd eu hangen arnoch i'ch siwrne am y prisiau mwyaf rhesymol. Os y byddwch yn ddyn sengl tebygol y bydd yn well genych brynu eich prydiau bwyd yn y gorsafoedd ar y ffordd fel yr ewch yn mlaen, am o 10 cents (5c.) i swllt y pryd.

C.—Ac os y glaniaf yn y gauaf ?

A.—Deuwch o hyd i'r un math o gyfleusterau, a'r un swyddogion yn Halifax a St. John.

C.—Sut yr af yn mlaen i Winnipeg, yn Manitoba, neu i Saskatchewan, Alberta, neu British Columbia ?

A.—Gyda'r tren, mewn cerbyd cysgu trefedigwr. Y mae y rhai hyn wedi eu hadeiladu ar yr egwyddor o gerbyd cysgu rheolaidd, seddau pa rai a droir yn welyau yn y nos, ac y mae yna "cooking stove" yn un pen i'r cerbyd. Ar y ffordd gallwch brynu bara, llefrith, a nwyddau bychain mewn amryw o'r gorsafoedd ar hyd y ffordd, ond cyn cychwyn gellwch gael holl fanylion o berthynas i'r hyn allwch wneud, a'r hyn a fyddai oreu i chwi wneud a pheidio ei wneud, gan Oruchwylwyr y Llywodraeth yn y Neuadd Ymfudol.

C.—A phan gyrhaeddaf Winnipeg, beth wedyn ?

A.—A thybio nad ydych wedi gwneud cynllun pendant i chwi eich hunan, deuwch o hyd i Neuadd Ymfudol yn yr orsaf, lle y cewch aros am wythnos os dewiswch. Os bydd genych wraig a theulu gyda chwi, yna eich cynllun goreu fydd i'w gadael hwy yno a myned allan a dewis y tir yr ydych yn bwriadu ei gymeryd i fyny. Y mae Rhestr o dir y Llywodraeth nad ydyw yn cael ei ddal yn cael ei chadw yn y Neuadd, a rhestrau, mapiau, &c., o diroedd rheilffordd ar werth a ellir eu gweled yn y wyddfa yn yr

---

orsaf. A gallwch fyned yn mlaen i Brandon, yn y rhan orllewinol o Manitoba, neu i Dauphin, yn y rhan ogleddol, ac yno ddod o hyd i Oruchwyliwr y Llywodraeth a chyfleusterau fel yn Winnipeg.

C.—Os y bydd arnaf eisieu myned y tuhwnt i Manitoba, i Saskatchewan neu Alberta, a gaf fi gynghorion a chyfarwyddyd yno?

A.—Cewch. Yn Calgary, yn Alberta Ddeheuol; yn Edmonton, yn Alberta Ogleddol, ac yn Saskatoon a Prince Albert, yn Saskatchewan, y mae sefydliadau Llywodraethol tebyg. Yn y lleoedd hyn oll y mae rhestrau o dir yn agored i ymsefydliad, a chof-lyfrau i rai fydd eisieu cyflogi dynion i'w ffermydd ac i'r rhai hyny sydd eisieu cael gwaith i wneud ar ffermydd.

C.—Os y deuaf o hyd i dir y byddaf yn ei hoffi mewn lle arall a raid i mi fyned yn ol yno i'w restru?

A.—Nac oes. Y mae yna swyddfeydd i restru tir yn Winnipeg, Brandon, Minnedosa, Dauphin, yn Manitoba; yn Alameda, Regina, Yorktown, Prince Albert, Battleford, a Moose Jaw, yn Saskatchewan; ac yn Edmonton, Red Deer, Calgary a Lethbridge, yn Alberta; ac yn Kamloops a New Westminster yn British Columbia; heblaw yn y dalaeth lle bynag y bydd gan y Llywodraeth Dalaethol ei swyddfeydd. Yn mhob un o'r lleoedd hyn y mae yna siopau lle gall yr un sydd yn bwriadu ymsefydlu brynu unrhyw beth angenrheidiol arno.

**RHYBUDD.**—Dylai person sydd newydd gyrhaedd gofio tra y gwna y Llywodraeth bob ymdrech i'w hyrwyddo ar ei ffordd yn ddiogel, nis gall ei noddi yn erbyn canlyniadau ymddygiad ffol o'i eiddo ei hun. Os ydyw yn well ganddo gymeryd cynghorion dieithriaid i rai y swyddogion, unig ddymuniad y rhai ydyw ei helpu, ni fydd ganddo neb ond efe ei hunan i'w feio os gwel ei fod wedi gwneud camgymeriad. Os bydd iddo ymdrin arian ag unrhyw un y digwydda ddod ar ei draws, dichon y bydd neu ni fydd raid iddo dalu am ei ddysgu; ac ar amserau daw atto bersonau ymddangosiadol diduedd y rhai a'i cynghorant i beidio ymsefydlu yn Canada, ond i fyned i'r Unol Dalaethau. Dylid dweyd wrthynt yn foneddigaidd ond yn gadarn nad oes angen eu cynghorion na'u gwybodaeth.



Argraffwyd gan Western Mail, Cyf., Caerdydd.

# Ffeithiau Ynghylch y Canadian Pacific.

Mae Canada yn cael ei chysylltu o For y Werydd i'r Mor Tawelog gan Reilffordd y Canadian Pacific.

Bu i adeiladwyr rheilffordd, y rhai a adeiladodd y Canadian Pacific, aredig y tir rhwng pob ugain milldir i brofi fod y tir yn ffrwythlawn.

Bu i Reilffordd y Canadian Pacific gario gwenith caled i'r gorllewin, a thrwy dyfu gwenith caled daeth Canada yn ystordy yd y byd.

Mae Rheilffordd y Canadian Pacific yn dyfrhau tair miliwn o aceri yn Neheudir Alberta i ffarmio cymysg. Fe gynhalia y tir hwn boblogaeth o haner miliwn.

Mae Rheilffordd y Canadian Pacific wedi adeiladu diwydiant ffrwythau British Columbia, y mae y cwmpeini yn clirio miloedd o aceri ar Ynys Vancouver i dyfu ffrwythau.

Mae gan Reilffordd y Canadian Pacific gerbydau ardderchog at wasanaeth cario ffrwythau, ac yd a chynyrch ffermydd.

Mae gan Reilffordd y Canadian Pacific ystordai lle y gal ffarmwr ystorio ei yd.

Rheilffordd y Canadian Pacific ydyw ffrynd y ffarmwr.

Gan Reilffordd y Canadian Pacific y mae y cerbydau teithwyr mwyaf cysurus, a'r adeiladaeth mwyaf cadarn ar Gyfandir yr America, a'r llinell oreu wedi ei gosod.

Mae Rheilffordd y Canadian Pacific yn rheoli llwybr linell dros 14,500 o filldiroedd o hyd, ac yn adeiladu yn ol cyfran o 400 o filldiroedd y flwyddyn, mwy na milldir y dydd.

Yn eu gweithfeydd Angus yn Montreal adeiledir cerbydau yn ol y cyflymder o un tren y dydd.

Ar Tachwedd y 7fed, 1885, darfu i Arglwydd Strathcona yru y cethren (spike) ddiweddaf, yr hon a wnaeth y Canadian Pacific yn reilffordd trawsgyfandirol (trans-continental).

Mae Rheilffordd y Canadian Pacific yn awr y gorphoraeth reilffordd fwyaf yn yr holl fyd.

Mae gan Reilffordd y Canadian Pacific drefniant at bellhysbysu (telegraph) yn eiddo ei hunan.

Mae gan Reilffordd y Canadian Pacific drefniant arian gludiad yn eiddo iddynt, Dominion Express Orders: yr hwn sydd yn galluogi ymfudwyr i gario eu harian mewn dyogelwch.

Mae peirianau (engines) y Canadian Pacific yn y nos yn cario goleu nerthol, ag sydd yn llewyrchu ar y llwybr ddau gant o latheni yn mlaen. Mae hyn yn ei gwneud hi y reilffordd ddyogelaf yn y byd i drafaelio yn y nos.

Mae llinellau y Canadian Pacific a'r canghenau yn cyrhaedd i bob ardal yn Canada, ag sydd yn gymhwys i ffarmio yn llwyddianus. Mae y reilffordd yn cynyddu gyda'r wlad